## ALLAN LINE ROYAL MAIL STEAMERS



I'R UNOL DALAETHAU A CANADA.

---

# Y FORDAITH FERAF

o

# BRYDAIN I CANADA,

# MANITOBA, &c.

---

Nid oes achos nodi mai gydag Agerlongau yr

**ALLAN LINE,**

y rhai a gludant y Llythyrgodau Prydeinig, y gellir cyrhaedd **Manitoba** a pharthau eraill yn **Canada** a'r Talaethau Unedig, hwylusaf, am fod y cyfryw yn hwylio yn

**WYTHNOSOL I QUEBEC**

a phorthladdoedd eraill yn y tiriogaethau Prydeinig.

Cynorthwyir Ymfudwyr, a fyddo am sefydlu yn y wlad, gan y Llywodraeth, a gall y Cymry gael cartrefi dedwydd o dan nawdd ac amddiffyniad y Goron Brydeinig.

---

**TRAEL CLUDIAD.**—Cabin, o £12 12s. i £22 1s. **INTERMEDIATE**, £8. **STEERAGE**, £4 4s.

**YMFUDWYR GYDA'R LLYWODRAETH.**—Celfyddydwyr o bob math, a'u teuluoedd, £4. Llafurwyr Amaethyddol, a'u teuluoedd, a Merched gweini, £3. Plant o 1 flwydd i 12 mlwydd £2; Babanod, 10s.

---

Bydd yn ofynol gwneyd cais am fyned gyda'r Llywodraeth ar *Forms* sydd wedi eu darparu at hyny.

---

Am fanylion pellach ymofyner â

**ALLAN BROTHERS, 19, James Street, Liverpool.**

neu a

**WILLIAM JOHN WILLIAMS,**
**Chartered Accountant,**
**7, Market Street, Carnarvon.**

# LLAWLYFR YR YMFUDWR:

YN CYNWYS

## ATEBION I GWESTIYNAU

AR

# MANITOBA

A

## GOGLEDD-ORLLEWIN CANADA.

"Y GWIR, YR HOLL WIR; A DIM OND Y GWIR."

---

CAERNARFON:
ARGRAFFWYD GAN O. R. OWEN, MINERVA PRINTING WORKS, TURF SQ.

# HOLWYDDOREG

AR

# MANITOBA

A

# GOGLEDD-ORLLEWIN CANADA.

## PENNOD I.

### NODIAD ARWEINIOL.

Y mae Adran y Gwastattir o Ogledd-orllewin Canada yn ymestyn i gyfeiriad gorllewinol o gymydogaeth Winnipeg hyd odreuon y Mynyddoedd Creigiog—pellder o wyth gan' milldir ac ychwaneg. Cynwysa randiroedd anferth o'r tir amaethyddol brasaf yn yr holl fyd. O ran ei arwynebedd y mae y gwastattir, fel rheol, yn donog fel y draethell, gyda twmpathau o fyrgoed yn tyfu drwyddo yma a thraw. Brithir ef hefyd gan linellau o goedwigoedd yma ac acw. Y mae yn gyfoethog o lynau mawrion a bychain, ac aberoedd rhedegog; aml i dro y cymharwyd cymydogaethau y cyfryw i'r parciau prydferthaf yn Lloegr.

Nid oes dau feddwl gyda golwg ar iachusrwydd yr hinsawdd, a chyfoethogrwydd y tir: y mae efe hefyd yn neillduol o addas i feithriniad grawn a magwraeth anifeiliaid. Y mae hyn yn sicrwydd digonol y bydd y wlad fawr hon yn y dyfodol agoshaol yn gartref i filiwnau o bobl ddedwydd a llwyddianus.

Yr ydym yn gryf o'r farn fod llawer gormod wedi ei siarad a'i ysgrifenu yn nghylch caledi bywyd yr ymfudwr ar ei ymsefydliad cyntaf yn y Gogledd-orllewin. Gwir y rhaid iddo weithio yn galed. Ni wna yr un dyn synhwyrol ddisgwyl am ail Eden, canys llafur ydyw un o delerau pendant bywyd a llwyddiant yn Manitoba fel yn mhob cwr arall o'r ddaear. Ar yr un pryd, gwadwn yn bendant fod y llafur yn orgaled, a'r anhawsderau i'w gorchfygu yn orluosog. Nid ydyw y llafur ond chwareu plant i'r hyn y bu raid i'r hen ymsefydlwyr, mewn parthau hynach o'r wlad, eu cyfarfod. Yn y dyddiau hyny, rhaid oedd symud ymaith goedwigoedd. Cyfarfyddent a llawer o goed yn dair troedfedd o dryfesur, a thros gan' troedfedd o hyd. A dyna waith tori a llosgi! Cymerai flynyddoedd i glirio y tir o'r hen foncyffion; ac er cael gwared a'r rhai hyny, nid oedd y llafur megis ond ar ei haner, gan fod yn fynych nifer mawr o geryg i'w symud, a'r tir mewn angen am ei gloddio a'i sychu. Am Manitoba, nid oes yn eisieu ond ei gloddio, a hyny mewn rhai ardaloedd yn unig. Am yr anhawsderau eraill, nid ydynt i'w cyfarfod yn y Gogledd-orllewin. Y mae y gwastattir eisoes wedi ei glirio yn barod, ac at wasanaeth yr ymsefydlwr pan y myno. Yr oll ganddo i'w wneyd fydd dodi ei babell i lawr, neu adeiladu cwt neu fwthyn hyd oni chaffo amser i adeiladu annedd gadarn a helaeth o ddefnyddiau hwy eu parhad,—aredig y tir yn deneu drosto, ac ail aredig, er ei hau a'i lyfnu, a disgwyl yn amyneddgar am y cnwd. Os yn ddyn tlawd, ofer iddo ddisgwyl am ran fras bob dydd. Eithr y mae angenrheidiau bywyd yn rhadlawn a hawdd eu cael. Hawdd y gall ef a'i deulu fforddio ymfoddloni ar *bork*, bara, ffa, pytatws, a thê, am y flwyddyn gyntaf gyda daear yn eiddo iddo ei hun o dan ei draed, a nenbren sych uwchben, yn y rhagolwg, ychydig yn mlaen, ar gysuron annibyniaeth sefyllfa, ac efallai gyfoeth helaeth. Na, nid oes yr un angen am i Dosturi ollwng allan ochenaid yn yr olwg ar sefyllfa pobl yn y cyfryw amgylchiadau. Y mae yno gyflawnder o helwriaeth at law pob un a fyno eu dal, a chydag ychydig lafur, yn y tymhor priodol, gall bwrdd yr ymsefydlwr fod yn gwegian o dan lwyth o amheuthyn bras! Ond heblaw hyn, ni raid i'r ymfudwr ofni nemawr ddim oddiwrth dori ei hen gysylltiadau, a gwynebu ar wlad bell fel Manitoba, drwy dybied nad oes yno le na modd i ffurfio cyfathrach a chysylltiadau newyddion. Gorchwyl hawdd a byr fydd ffurfio cartref llawn mor anwyl a dedwydd yno a'r un a adawyd ar ol, gan fod pobl mewn gwlad newydd yn llawer mwy rhydd ac agored, a pharod eu cymwynas a'u caredigrwydd, nag mewn hen wledydd lle nad oes yr un don o fywyd newydd yn dod o unman i dori ar dawelwch yr unffurfiaeth. Ar ol cyfaneddu am ychydig flynyddau yn y wlad, ni bydd ar yr un

o'r ymsefydlwyr ronyn o awydd dychwelyd yn eu hol i droi eilwaith yn eu hen gylchoedd.

Ffaith arall ddymunol i'r cyffredin tlawd i'w chadw yn y cof yn y rhagolwg ar ymfudo ydyw fod erchyllderau *steerage* y llong ymfudol erbyn y dyddiau hyn wedi diflanu yn llwyr o'u cymharu i'r hyn oeddynt bymtheg ac ugain mlynedd yn ol. Dosberthir y *steerage* (lle rhataf yn y llong) yn awr yn dri dosran, un ar gyfer teuluoedd a chyplau priodasol, yr ail ar gyfer dynion dibriod, a'r trydydd at wasanaeth merched dibriod. Darperir tri phryd o fwyd y dydd gan berchenogion y llong, cynwysedig o *Vegetables*,—dail, pytatw, moron, &c.; y mae hefyd nifer o arolygwyr i edrych ar ol cysuron yr ymfudwyr, meddyg i wellhau eu hanwylderau, a chwsg-silff ar gyfer pob un o'r teithwyr.

Ar ol penderfynu ar gwestiwn ymfudiaeth, cyn prynu ei docyn gwell fyddai i bob ymfudwyr fynu gweled a siarad drosto ei hun â goruchwylwyr y llinell fyddo efe wedi gwneyd ei feddwl i fyned gyda hi. Gall drwy hyny, fel rheol, gael pob rhyw fanylion am delerau y cwmni, y pethau angenrheidiol i'w pwrcasu, a'r swm angenrheidiol o arian i'w talu fel ernes er sicrhau lle. Fel rheol, anogir yr ymfudwr i godi tocyn i ben draw ei daith, gan y bydd i hyny ei gadw rhag trafferthion a blinderau lawer. Dylid bod yn fyddar i gymhellion personau fydd yn sefyllian o amgylch swyddfeydd llongau: na wneler dim oll â hwynt, nag â neb, ond goruchwylwyr awdurdodedig cwmni y llongau, neu oruchwylwyr y Llywodraeth. Prin y gall amaethwyr fod yn rhy groendew a di-ffydd yn eu hymwneyd â goruchwylwyr tir-gwmniau a fydd yn eu gwylied mewn llawer man ar eu taith i'r Gogledd-orllewin. Na wrandawer ar eu chwedlau; na chreder eu gosodiadau, eu hamcan ydyw dwyn dyn oddiar ei lwybr, a'i ysbeilio o'i arian.

Pan ar fwrdd y llong, edrycher allan am ei rheolau; byddant yn hongian yma a thraw ar hyd ei hystlysau. Ymgydnabydder â hwy, a rhodder ufudd-dod iddynt. Os bydd gan yr ymfudwr gwyn yn erbyn y naill neu y llall o'r dwylaw, neu y swyddogion, cymered y cyfryw at y cadben, a gwna yntau yn union symud ymaith yr achos o hyny. Y cadben sydd gyfrifol am bob camymddygiad neu esgeulusdra ar ran y goruchwylwyr neu swyddogion y criw. Bydd ei gymeriad ef ei hun, yn nghyd a'i syniad o ddyledswydd, yn symbyliad digonol er iddo sefyll yn ffyddlon dros gysuron a buddianau yr holl deithwyr o dan ei ofal.

## PENNOD II.

### Y LLYWODRAETH; SWYDDOGION YMFUDOL, A'R MODD I FYNED YNO.

Gofyniad.—*Pa fodd i fyned i Manitoba?*

Atebiad.—Gellir prynu "*through tickets*" (tocynau am yr oll o'r daith) i ran o Manitoba gydag unrhyw agerlong a â i'r America: ac ar ol glanio yn Canada, neu yr Unol Dalaethau, gellir myned gyda'r gledrffordd yr holl daith, neu ran o'r ffordd gyd'r gerbydres, a'r gweddill ar hyd y llynau i Manitoba. Y mae amryw ffyrdd i fyned yno. Ceir pob manylion drwy anfon at unrhyw oruchwyliwr ymfudol. Yn y gwanwyn nesaf (1884) bydd ffordd haiarn y *Canadian Pacific* (Tawelfor Canada) mewn sefyllfa i fyned â theithwyr o Montreal trwodd yn hollol i Ogledd-orllewin Canada, mor bell a'r Mynyddoedd Creigiog. Ffurfir undeb yn Montreal cydrhwng yr holl ffyrdd haiarn a ânt i Quebec, Halifax, New York, Boston, Philadelphia, a phorthladdoedd eraill yn yr Unol Dalaethau. Hon fydd y ffordd *unionaf, byraf*, a'r *rhataf* i'r Gogledd-orllewin.

G.—*Pa sawl diwrnod a gymer y daith?*

A.—O dan amgylchiadau cyffredin fe gymer i chwi o Gymru o bymtheg i ugain o ddyddiau i fyned i Winnipeg.

G.—*Pa faint fydd y draul?*

A.—Mewn trefn i gael y wybodaeth gywiraf ar hyn, gwell i chwi ymofyn â Goruchwylwyr yr Agerlongau. Rhoddant hwy i chwi bob rhyw fanylion yn llawn a pharod.

G.—*Pa amser y dylwn i fyned?*

A.—O Ebrill i Mehefin ydyw y tymor goreu i ddyn ysgafn ei bwrs; gall yr amser

hwnw sefyll siawns dda am dymhor digonol i lafurio peth ar ei fferm mewn pryd, dybygid, i sicrhau cnwd hanerog y flwyddyn gyntaf. Y mae Mawrth yn rhy gynar, am na bydd y ffyrdd pan gyrhaedda Manitoba yn gymwys i'w teithio. Hwyrach mai yr amser goreu i ddyn arianog ydynt fisoedd Awst, Medi, a hyd yn oed Hydref; eithr nid gwiw iddo ddisgwyl gallu gwneyd nemawr yn ffordd triniaeth a gwelliantau ar ei dir hyd y gwanwyn canlynol.

G.—*Pa "blan" ydyw y goreu wrth brynu ticedi?*

A.—*Mynwch* yn wastad "through (thrŵ) ticket (tieed trwodd) i Manitoba." Ceidw hyny chwi rhag llawer trafferth flin a phryder ar hyd y daith. Gellwch bwrcasu ticet gan oruchwylwyr yr agerlongau i unrhyw orsaf (station) ar ffordd haiarn y *Canadian Pacific.*

G.—*Pa faint o glyd (baggage) a gymerir gyda mi?*

A.—Gan lleied byth ag a alloch, oblegid gellwch brynu pob peth y bydd arnoch ei eisiau ar y fferm pan gyrhaeddoch Manitoba, a hyny am bris hynod o resymol. Ceir yno bob peth cyfaddasach i'r wlad na'r hyn bethau sydd mewn arferiad yn y wlad hon.

G.—*Pa fodd y gallaf drosglwyddo fy arian i Manitoba?*

A.—Ar ol prynu y *through ticket* i Winnipeg, a chadw ychydig yn y llogell er cyfarfod âg angenrheidiau a gofynion y daith, rhoddwch yr oll o'r gweddill yn yr ariandy, i'w talu yn Canada. Rhydd swyddogion yr ariandy (*bank*) i chwi daleb (*draft*) taladwy yn Winnipeg, neu unrhyw le arall y byddwch wedi ymsefydlu.

G.—*Pa beth a ddylai dyn ei wneyd ar ol cyraedd Manitoba?*

A.—Y weithred gyntaf ar ol cyrhaedd yno ddylai fod ymweliad â Swyddfeydd Tirol Ffordd-haiarn y *Canadian Pacific.* Ar ol myned yno cymerer amser i edrych ar y mapiau, a darllener y sylwadau manwl, eglurhaol, a darluniadol ar diroedd. Rhydd hyn fantais i'r ymfudwr i wneyd ei ddewisiad o gymdogaeth lle y gall efe edrych allan am ei fferm. Y mae y rhodd o dir a wneir gan y *Canadian Pacific Railway* ar hyd y brif linell wedi ei dosranu yn rhandiroedd o dan oruchwylwyr hyd y trydydd gradd yn llinell y cyhydedd. A dyma eu henwau: Carberry, Brandon, Virden, Moosomin, Broadview, Wolseley, Regina, a Moose-jaw. Y mae gan bob rhandir ei dir-swyddfa, gyda goruchwyliwr awdurdodedig i werthu. Y mae nodiadau ar diroedd yn argraffedig yn mhob swyddfa: crogir hwy ar y mur er hwylusdod i'r rhai fo a'u bryd ar brynu ymgydnabyddu â'u cynwysiad. Yno hefyd ceir arweinwyr apwyntiedig i gyfarwyddo sefydlwyr i'r tir y dymunant ei chwilio a'i brofi. Drwy hyn nis gall dyfudwyr ac eraill gyfarfod ag anhawsderau na phrofi anghyfleusterau wrth ddethol lleoliad eu cartrefi newyddion. Pan wedi gwneyd y meddwl i fyny i gymeryd tir rhad gan y Llywodraeth yn gartref, neu pan yn bwriadu prynu ganddi, angenrhaid yw i'r busnes gael ei ddwyn yn mlaen yn y Dir Swyddfa agosaf ato. Wele restr o honynt:

| | | | |
|---|---|---|---|
| Swyddfa | Winnipeg | G. Newcome, | Goruchwyliwr Gweithiol. |
| ,, | Nelsonville | Henry Landerkin, | ,, ,, |
| ,, | Gladstone | Joseph Graham, | ,, ,, |
| ,, | Odanah | A. E. Fisher, | ,, ,, |
| ,, | Birtle | A. J. Belch, | ,, ,, |
| ,, | Brandon | Geo. Newcombe, | ,, ,, |
| ,, | Turtle Mountain | G. F. Newcombe, | ,, ,, |
| ,, | Prince Albert | George Duck, | ,, ,, |

G.—*Pa le y ceir gafael ar Swyddfau y Cwmni?*

A.—Y mae y Prif Swyddfau yn Winnipeg:

W. C. Van Horne, General Manager,
Wm. Harder, Manager Cynorthwyol.

Swyddfa y Dosbarth Tirol:

J. S. McTavish, Dirprwywr Tirol.

Y mae Prif Swyddfa y Cwmni yn Montreal:

C. Drinkwater, Ysgrifenydd.

Y mae Swyddfa Lundeinig y Cwmni yn 101, Canon Street:

Alexander Begg, Goruchwyliwr.

### G.—*Pa fodd y gall person ddewis man i ymgartrefu arno?*

A.—Parthwyd Gogledd-orllewin Canada yn drefgorddau (*townships*) chwe' milldir ysgwar, pob un yn cynwys 36 dosran o dir—pob dosran yn mesur 640 o aceri. Rhenir y rhai hyn eilwaith i chwarteri—pob chwarter yn cynwys 160 o aceri. Trefnwyd fod ffordd fawr, o led un gadwen, ar bob llinell dosran, yn rhedeg i'r gogledd a'r deheu, ac ar bob ail llinell-dosrn yn rhedeg i'r dwyrain a'r gorllewin a dengys yr argraff-lun a ganlyn drefgordd (*township*), gyda'r dosranau wedi eu rhifnodi:—

GOGLEDD

| | | | | | | |
|---|---|---|---|---|---|---|
| DWYRAIN | 31 | 32 | 33 | 34 | 35 | 36 |
| | 30 | 29 | 28 | 27 | 26 | 25 |
| | 19 | 20 | 21 | 22 | 23 | 24 |
| | 18 | 17 | 16 | 15 | 14 | 13 |
| | 7 | 8 | 9 | 10 | 11 | 12 |
| | 6 | 5 | 4 | 3 | 2 | 1 |

GORLLEWIN

DE

Y mae pob dosran wedi ei ranu fel hyn:—

I. Cartrefi rhad (*homesteads*) ac i'w Rhagbrynu (*pre-emption*),—Rhif 2, 4, 6, 10, 12, 14, 16, 18, 20, 22, 24, 28, 30, 32, 34, a 36.

II. Perthynol i'r Ffordd haiarn y *Canadian Pacific*.—Rhif 3, 5, 7, 15, 17, 19, 23, 27, 31, 35.

III. A werthwyd gan Ffordd haiarn y *Canadian Pacific* i Gwmni Tirol Gogledd-orllewin Canada.—Rhif 1, 9, 13, 21, 25, 33.

IV. Tir Cwmni Hudson Bay.—Rhif 8, 26.

V. Dosranau yr Ysgolion a gedwir gan y Llywodraeth ar gyfer Ysgolion yn unig.—Rhif 11, 29.

### G.—*Pa reolau sydd gan Ffordd-haiarn y Canadian Pacific i werthu Tir?*

A.—Y mae cwblhad Ffordd-haiarn y *Canadian Pacific* hyd gymydogaeth Afon Saskatchewan Deheuol, pellder o 600 milldir i gyfeiriad gorllewinol o Winnipeg, a'r cynydd cyflym a wnaed yn nhir-fesuriadaeth y Llywodraeth yn ystod y tymor a aeth heibio, wedi galluogi y Cwmni i gynyg ar werth lawer o'r tir amaethyddol goreu yn Manitoba a'r Gogledd-orllewin. Trefnwyd i werthu y tir o bob tu i brif linell y ffordd haiarn am bellder o 24 milldir am brisiau o 10 swllt yr erw ac uchod, *gyda thelerau yn galw am ddiwylliant.* Ceir prisiau tir *heb* delerau yn galw am ddiwylliant oddiwrth y Dirprwywr Tirol. Pan y bo diwylliad neu gytundeb yn ffurfio rhan o'r gydnabyddiaeth, caniateir tolli hyny o'r pris yn ol fel yr eglurir rhagllaw. *Dodir y rheolau hyn yn lle, ac er dileu y rhai oedd o'r blaen mewn gweithrediad.*

### G.—*Rhoddwch i lawr delerau y Taliad?*

A.—Os telir yn gyflawn ar adeg y pryniad rhoddir Deed Trosglwyddiad y tir ar y pryd, ond gall prynwr dalu un ran o chwech mewn arian ar adeg y pryniad a'r gweddill mewn pump o symiau blynyddol gyda llog yn ol chwe' phunt y cant yn flynyddol, taledig yn mlaen llaw. Gellir gwneyd taliadau mewn *Land Grant Bonds* y rhai a dderbynir yn ol deg punt y cant yn flynyddol am eu gwerth cyfartal â'u llog cronedig. Gellir cael y *Bonds* (Ysgrifrwymau) hyn yn Ariandy Montreal yn y dref hono, neu gan unrhyw un o'r goruchwylwyr.

G.—*Pa gynllun a fabwysir i dalu yn ol (rebate)?*

A.—Gwneir ad-daliadau yn amrywio o 5s. i 14s. yr erw o'n harain ni, yn ol y pris a dalwyd am y tir yn ol y telerau a ganlyn :—

(1) Ni bydd gan y prynwr hawl i ad-daliad, os na bydd iddo ar adeg y pryniad fyned i gytundeb i ddiwyllio y tir.

(2) Fod haner y tir y cytundebwyd am dano i'w ddwyn o dan ddiwylliad o fewn pedair blynedd i ddyddiad y cytundeb.

(3) Mewn achosion pan na fo prynwyr yn trigo ar y tir, rhaid o leiaf i un rau o wyth o'r cyfan a brynwyd fod wedi ei ddiwyllio yn ystod pob un o'r pedair blynedd, eithr ni orfodir cadw at y rheol hon yn achos trigianydd sefydlog ar y tir: caiff ef y rhagorfraint o ddiwyllio ei eiddo unrhyw amser yn nghorff y cyfnod a nodwyd.

(4) Pan y bo achos lle y metha prynwr a chario allan yn llawn y telerau ynglŷn a'r diwylliad o fewn yr amser terfynedig, angenrhaid fydd iddo dalu yn llawn bris y pryniad ar yr oll o'r tir y cytundebwyd am dano. Ond pan y byddo hyn wedi cael ei achosi gan amgylchiadau nas gallai efe eu llywodraethu, ac os gall efe brofi hyny i foddlonrwydd y Cwmni, caniateir iddo yr ad-daliad ar y tir a fyddo yn weithredol wedi ei ddiwyllio yn nghorff y pedair blynedd. Gwneir yr ad-daliad pan y byddys yn talu y gweddill arian a fo yn ddyledus, gan gynwys pris llawn y pryniad ar y gweddill o'r tir y cytundebwyd am dano.

G.—*Rhoddwch ger fy mron y telerau cyffredinol?*

Y mae yr holl arwerthiadau yn ddarostyngedig i'r telerau canlynol:—

(a) Y mae pob gwelliantau a wneir ar dir prynedig i'w parhau arno hyd nes y bo y taliad olaf am dano wedi ei wneyd.

(b) Y mae pob rhyw drethoedd (*taxes and assessments*) a osodir yn gyfreithiol ar y tir, neu welliantau, i'w talu gan y prynwr.

(c) O dan y rheolau hyn, ceidw y Cwmni yr hawl o beidio gwerthu, bob rhyw diroedd mwnau a glo, tiroedd yn cynwys llawer o goed, ceryg, llechi, a marmor; tiroedd gyda nerth dyfrol arnynt, a drylliau o dir addas at adeiladu trefydd, ac at ddybenion ffyrdd haiarn.

(d) Gwerthir tiroedd yn cynwys mwnau, glo, coed, a chloddfeydd, a thir a nerth dyfrol arno, ar delerau isel i bersonau a roddant brofion diamheuol o'u bwriadau a'u galluoedd i weithio y cyfryw er cyfleusdra y cyhoedd.

(e) Ceidw y Cwmni yr hawl i gymeryd, heb un taliad am dano, leiniau o dir 200 troedfedd o led, i'w ddefnyddio at ddybenion ffyrdd, neu gledrffyrdd, pa bryd bynag y byddo i'r *Canadian Pacific*, neu unrhyw ganghen o honi, farnu yn angenrheidiol leoli y cyfryw. Gwneir eithriad i'r rheol hon pan y bo gwerth adeiladau a gwelliantau ar y cyfryw ddosran o dir.

(f) Cludir sefydlwyr a'u meddianau am brisiau isel gan y Cwmni ar hyd eu cledrffordd.

G.—*Pa fodd y ceir meddiant o dir y Llywodraeth?*

A.—Rhydd y Llywodraeth rodd o 160 erw o dir, a chaniateir yr hawl i sefydlwyr i ragbrynu 160 o erwau ychwanegol os ewyllysiant. Ceir pob gwybodaeth ynghylch hynyma drwy anfon at Oruchwylwyr Llywodraeth Canada yn y wlad hon.

G.—*A ydyw rheolau tirol Canada yn haelionusach nag eiddo yr Unol Daleithau?*

A.—Ydynt. Nid yw y tâl (*fee*) am drigfod neu rag-daliad yn Canada ond 10 dolar, tra y mae yn yr America yn 26 dolar, ac mewn rhai achosion yn 34 o ddoleri. Heblaw hyn, ni bydd cymeryd rhodd o dir at wneyd cartref gan y Llywodraeth yn un atalfa ar eich ffordd i ragbrynu neu bwrcasu ychwaneg o diroedd y Llywodraeth

G.—*A oes yn angenrheidiol cymeryd rhyw lw o warogaeth?*

A.—Nag oes. Yn America y mae peth felly. Dyma gopi o amod-lw yr Unol Dalaethau, yr hwn sydd i'w gymeryd ar waith un yn ymsefydlu yno :—

LLYS Y DOSBARTH, ........................Dosbarth Deddfwrol } Talaeth........................................
Swydd........................................ }

Yr wyf fi [John Jones] yn tyngu y bydd i mi gefnogi Cyfansoddiad Unol Dalaethau yr America, ac yr wyf yn cyflawn a hollol ymwrthod am byth bob Gwarogaeth a Ffyddlondeb i bob Gallu Tramor, Tywysog, Penadur, Talaeth, neu Frenhiniaeth pa bynag: ac yn arbenig felly i'r Frenhines Victoria, Prydain Fawr a'r Iwerddon, deiliad yr hon a fum. Yn mhellach ni bum erioed yn ddygiedydd yr un teitl etifeddol, ac nid wyf o raddau Pendefigaeth y wlad i'r hon y bum yn ddeiliad. Yr wyf wedi bod yn drigianydd o fewn y Talaethau Unedig am y pum' mlynedd diweddaf.

Llawnodwyd a thyngwyd mewn Llys agored } ........................................................
y..................dydd o..........................18.... }

..........................................................Ysgrifenydd.

Nis gall neb gymeryd tir y Llywodraeth yn America heb fod yn barod i gymeryd y llw blaenorol.

G.—*Pa le y gallaf gael Rheolau Tir y Cwmni, a phob gwybodaeth arall am y wlad?*

A.—Drwy anfon at unrhyw un o'r boneddigion isod:—

C. DRINKWATER, Sec. of the Company, Montreal.
J. H. MCTAVISH, Land Commissioner, Winnipeg, Manitoba.
ALEX. BEGG, Office of Canadian Pacific Railway,
101, Cannon St., London.

## PENNOD III.

### PWY I YMFUDO; Y FFERMYDD; HINSAWDD, &c.

G.—*Pa fath bobl a fuasech yn ei gynghori i fyned i Manitoba?*

A.—Amaethwyr ymarferol; llaw-weithwyr o bob math; llafurwyr a fedrant wneyd diwrnod da o waith. Gall dynion gyda phethau cyfalaf ei fuddsoddi i fantais, naill ai yn fasnachol neu yn amaethyddol.

G.—*Pwy a ddylai fyned?*

A.—Ni annogaf neb i beidio myned; dibyna pobpeth ar egni a bywiogrwydd y person ei hun gyda golwg ar ei lwyddiant. Fodd bynag, buaswn yn rhoddi pobl sydd wedi ymarfer â gwaith y *ddesk* a'r *counter* ar eu gocheliad, drwy eu hadgofio fod mwy o ymgeiswyr am y cyfryw leoedd nag sydd o leoedd felly yn fynych. Os na bydd dyn yn barod i droi ei law at unrhyw waith parchus a drydd i fyny, gwell ydyw i un felly aros gartref.

G.—*A ydyw Morwynion Gweini mewn galwad yno?*

A.—Ar hyn o bryd y maent; o ganlyniad, y mae y cyflogau yn uchel: enilla genethod o ddwy i dair punt y mis a'u cynhaliaeth.

G.—*A oes galw am Allofyddwyr (Mechanics)?*

A.—Y mae angen am Allofyddwyr da; gellir cael rhyw syniad am hyn pan ddywedwn fod seiri meini, a choed, a chlai yn derbyn 16s. a 28s. y dydd yn yr Hydref diweddaf. Y mae *contracts* allan am nifer fawr o adeiladau newyddion yn Winnipeg, Portage la Praire, Emerson, Brandon, Reginia, heb son gair am adeiladau mewn trefi a phentrefi ar eu tyfiant drwy yr holl wlad. Amrywia cyflogau o 12s. i 16s. y dydd, ac mewn rhai amgylchiadau lawer yn uwch.

G.—*A yw byw yn ddrud yno?*

A.—Dywed pobl yr hen wlad ei bod yn rhatach nag yn Mhrydain. Y mae yn llawer rhatach nag yn America, a rhywbeth ar gyfartaledd i ranau hynach o Canada.

G.—*A all ymfudwr bwrcasu pobpeth angenrheidiol arno yn Manitoba?*

A—Gall; ceir pobpeth yno am brisiau cymedrol, nid yn unig yn Winnipeg, ond yn mhob canolfan arall o fasnach ar hyd llinell y ffordd haiarn, a thrwy yr holl wlad.

Gellir prynu dillad, arfau amaethyddol, nwyddau sychion a *groceries*, yr un mor rad yn Manitoba ag yn unrhyw ran arall o'r America.

G.—*Pa faint o gyfalaf (arian) sydd yn angenrheidiol i fyned yno?*

A.—Dibyna hyn i raddau mawr arnoch chwi eich hun; rhaid i rai wrth fwy nag eraill, ond tybiaf y buasai dyn gyda chan' punt neu gant a haner yn abl i wneyd yn dda. Adwaen lawer wnaeth felly ar lai.

G.—*A ellir prynu ffermydd wedi ei gwellhau?*

A.—Ceir beunydd yn y farchnad ffermydd, gyda thai, ac adeiladau allan, a pheth tir o dan driniaeth. Gellir eu prynu am brisiau cynhyddol gan bersonau awyddus am symud yn mlaen i'r Gorllewin er cymeryd tiroedd newyddion a sicrhau elw ar yr hen ffermydd. Ond y ffordd fwyaf boddhaol, fodd bynag, i sefydlwr newydd ydyw cymeryd i fyny dir newydd, gan sicrhau y profit iddo ei hun.

G.—*Pa fodd y mae y Cyfreithiau?*

A.—Nid oes yno drethoedd beichus na gorfodaeth i restru ei hun fel milwr; y mae pob dyn yn rhydd, ac ni cheisir ganddo ond parchu y deddfau a wnaed er amddifyniad eiddo a bywyd. Y mae sefydliadau y wlad o gymeriad trywadl boblogaidd.

G.—*Beth am natur y priddyn?*

A.—Derbynir o leiaf dair tybiaeth er ceisio cyfrif am ffrwythlondeb y tir yn y Gogledd-orllewin. (a) Credir yr achosir ef gan ddiferion adar ac anifeiliaid ar y gwastattir; (b) gan ludw blynyddol tanau y gwastattir, (*prairie*); (c) gan gynydd parhaus mater llysieuol marw, a phan ystyrier fod gyroedd anferth o *buffalos* a phob math o *game* wedi bod am ganrifau yn crwydro dros y gwastattir,—fod adar gwylltion hyd y dydd hwn yn heidiau afrifed yn mhobman, a phan feddyliom fod y tanau oes ar ol oes yn gyson wedi bod yn ysu pob peth o'u blaen yn y Gogledd-orllewin, y mae rheswm pur gryf dros dderbyn y ddamcaniaeth. Gan fod y tri achos yn wirionedd diamheuol, paham nas gellir priodoli y ffrwythlondeb i'r tri gyda'u gilydd yn ogystal a morwyndod y priddyn. Ond pa fodd bynag y mae cyfrif am gyfoeth toreithiog y ddaear, y mae un arwedd o bwysigrwydd diamheuol yn perthyn iddo, hyny yw—ei ddyfnder. Dywedwyd lawer gwaith fod trwch priddyn du y Gogledd-orllewin yn amrywio o droedfedd i bedair troedfedd o ddyfnder, ac mewn rhai lleoedd yn ddyfnach na hyny. Gydag amheuaeth mawr y derbynid y gosodiad hwn. Tystiolaeth amaethwyr, trigianwyr, mewn mwy na chant a haner o wahanol ardaloedd yn Manitoba ydyw fod cyfartaledd dyfnder y priddyn yn y dalaeth hono dros dair troedfedd.

FFERYLLFA DADANSODDI, SURGEONS' HALL,
EDINBURGH.

DADANSODDIAD SAMPLAU O BRIDD MANITOBA.

| | | |
|---|---|---|
| Lleithder | | 21.364 |
| Mater organaidd yn cynwys Nitrogen yn gyfartal i Ammonia, 23 | | 11.223 |
| MATER HALENAIDD | | |
| Phosphates | 0.472 | |
| Carbonate of lime | 1.763 | |
| Carbonate of magnesia | 0.937 | |
| Alkaline salts | 1.273 | |
| Oxide of iron | 3.115 | |
| | | 7.560 |
| Tywod a silica | 51.721 | |
| Alumina | 8.132 | |
| | | 59.853 |
| | | 100.000 |

Y mae y priddyn uchod yn gyfoethog iawn mewn natur organaidd, a chynwysa swm cyflawn o falerion halenaidd ffrwythlonol a geir yn mhob priddyn o ansawdd dda.

(Arwyddwyd) STEPHENSON MACADAM, M.D.,
Darlithydd ar Fferylliaeth.

Y mae y swm mawr o *silica* (malurion ceryg tan) yn y dadansoddiad uchod yn brawf fod y priddyn yn nodedig o gyfaddas at gynyrchu gwenith. Gorwedd y marlbridd du (*loam*) y soniwyd eisoes am ei frasder cyfoethog, ar haen o glai gwydyn, trwch yr hwn sydd yn amrywio o un droedfedd i bedwar, ac mewn rhai lleoedd y mae y clai yn 90 o droedfeddi o drwch.

G.—*A ydyw yr hinsawdd a'r tymhorau yn ffafriol i wladychiad?*

A.—Y mae iachusrwydd ardal lle y bwriada ymfudwr sefydlu o'r pwysigrwydd mwyaf iddo ef a'i deulu, canys yno y bydd maes ei ymrysonfa ddyfodol. Pa les iddo fydd meusydd teg, gweirgloddiau blodeuog, a thoreithiog, cnydâu llysieuog, o dan haul trofegol, os cenhedlant hwy haint (*miasma*) a tharth? Pa gysur fydd awelon pêr a meddal, os ar eu crwydiadau chwareus yn gwasgar gronynau haint a marwolaeth? Pa gysur a rydd helaethion gynauafau o rawn melynwawr a ffrwythau bras ac addfed, os myn clefydau ymweled yn flynyddol a'i annedd?

Llwydda sychder yr awyr, cymeriad y priddyn, yr hwn na fyn gadw llynau llonydd ar ei wyneb er gwasgar nwyau gwenwynig; absenoldeb tarth a niwl; disgleirdeb goleuni yr haul; dilyniad dymunol y tymorau—ynghyd er gwneyd hinsawdd Gogledd-orllewin Canada, heb ei ail am ei iachusrwydd, ac nis gall lai na bod wedi ei fwriadu yn gartref dedwydd pobl iach a llwyddianus. Y mae yr haeriad fod hinsawdd ein Gogledd-orllewin yn un o'r rhai iachusaf yn yr holl fyd, gan hyny, yn un y gellir yn hyderus, a siarad yn gyffredinol rhoddi rheswm drosto, yn gymaint a'i fod yn gorphwys ar brofiad ei breswylwyr.

G.—*Rhoddwch eglurhad ar y tymhorau?*

A.—Y maent fel hyn: *Gwanwyn.*—Ebrill, Mai. Diflana yr eira yn gyflym, a sych y ddaear yn ebrwydd. Dechreuir hau o ganol hyd ddiwedd Ebrill, a therfyna ddechreu Mai. *Haf.*—Mehefin, Awst, a rhan o Fedi. Tywydd clir braf gydag aml gawodydd—pur boeth ar brydiau yn y dydd—y nos yn lled oer ac adfywiol. Dechreua y cynhauaf yn Awst a pharha hyd ddiwedd Medi. *Hydref.*—Rhan o Fedi, Hydref, a rhan o Dachwedd. Hwn efallai ydyw y tymor dymunolaf yn y flwyddyn, yn gymaint a bod yr awyr yn falmaidd a hyfryd. Yn y tymor hwn y cymer tannau y gwastattir le, yr hyn a wna i'r awyrgylch fod i raddau yn fyglyd, eithr nid yn annymunol mewn un modd. *Gauaf.*—Rhan o Dachwedd hyd Mawrth. Yn gynar yn Nhachwedd fel rheol y dechreua yr haf Indiaidd, yr hwn a ddilynir gan yr adeg hyfrydaf ar y tymor; pery ar draws pythefnos neu ychwaneg. Ar yr adeg hon bydd y tywydd yn gynes, yr awyr yn dawel a niwliog, a phob gwrthrych yn gwisgo agwedd lonydd a chysglyd. Ar hyn daw y gauaf i mewn; blaenorir ef gan gwymp cnwd ysgafn o eira pluog, a dilynir ef gan ddyddiau o glirder digyffelyb, ffurfafen glirlas, ac awyrgylch llawn o effeithiau bywhaol. Yn Rhagfyr, ymsefydla y gauaf, a phery y tywydd yn ddigyfnewid, ac eithrio meirioliad yn Ionawr, ac ambell ystorm o eira. Y mae y dyddiau yn glir a disglaer; meddalir llawer ar yr oerni gan ddisglaerdeb yr haul.

G.—*A ydyw yr hinsawdd yn iach?*

A.—Yn neillduol felly. Nid oes yno fallawyr; y mae heintiau lleol yn anadnabyddus; plant yn nodedig o iach. Y mae Manitoba wedi ei chyhoeddi yn mhlith yr iachusaf o wledydd y ddaear, a'r ddymunolaf i fyw ynddi.

## PENNOD IV.

### ADNODDAU Y WLAD, &c,

G.—*Beth am y cyflenwad o goed?*

A.—Y mae coed at ddybenion adeiladu, cau allan, &c., yn fater o bwysigrwydd mawr mewn gwlad o wastadtir, ac yn y peth hyn y mae Gogledd-orllewin Canada wedi ei ffafrio yn arbenig.

Er fod rhanau o'r wlad lle y mae coed yn brin, eto, fel rheol, y mae hi drwyddi wedi ei chyflenwi â choed yn dda. Fel y nodwyd yn barod, y mae y gwastadeddau yn gyfoethog mewn swpwydd (*clumps*). Mewn rhanau eraill ceir rhandiroedd o goedwigoedd wedi eu gwasgaru mor gyfartal, fel y gall amaethwyr, fel rheol, gael meddiant o nifer dda o goed yn gyfagos i'w ffermydd ar y gwastadtir. Heblaw hyny, y mae yr afonydd lluosog yn ddieithriad wedi eu gwisgo â choed o bob tu.

G.—*Rhoddwch restr o amrywiaeth coedydd y wlad?*

A.—Derw, llwyfan, ysgawen, masarn caled a meddal; gellir planu pisgwydd (*basswood*) a thyf yn llwyddianus; yr helyg, poplys, a choed cotwm a dyfant hefyd yn gyflym odiaeth, ac at ddybenion cyffredin ar fferm y maent yn dra defnyddiol.

Ceir y math a ganlyn o goed yn Ngogledd-orllewin Canada: derw, cedar gwyn a choch, bedw, poplys, perfwydden (*spruce*), onen wen, coed cotwm, helyg gwyn, ffawydd, llwyfan, coed cherry, onen balsam, box-elder, ac eraill. Daw yr olaf a nodwyd i arferiad cyffredinol fel coed at gerfio.

Gyda golwg ar blanu coed, y mae a ganlyn wedi ei gael oddiwrth amaethwr cyfrifol yn Manitoba, ac y mae yn werth sylw:

"Buaswn yn awgrymu i'r rhai a fwriadant ymsefydlu yn y Gogledd-orllewin, os yn arfaethu trigo ar y gwastadtir (*prairie*), i dori erw neu ddwy o amgylch y man y bwriadant adeiladu, ar y pwynt gorllewinol, gogleddol, a dwyreiniol, gan eu hau a hadau masarn (*maple*). Planer yn rhesi 4 troedfedd oddiwrth eu gilydd; yr hadau mewn pellder o un droedfedd y naill oddiwrth y llall: wedi hyny gellir eu teneuo a'u hail blanu. Y mae fy eiddo I yn 12 troedfedd o hyd. Pedair blynedd y sydd er pan guddiais eu hadau yn y ddaear; bydd iddynt fod yn gysgod da yn y man.
JAMES STEWART,
High Bluff,
[50 milldir o Winnipeg.]

G.—*A oes yno helaethrwydd o ddwfr, ac a yw yn dda?*

A.—Y mae cyflawnder o ddwfr yn anhebgorol i anghenion yr amaethydd, nid yn unig at oruchwylion teuluaidd, ond hefyd ar gyfer ei anifeiliaid. Y mae gan Ogledd-orllewin Canada, nid yn unig luosogrwydd o afonydd ac aberoedd, eithr y mae ganddi hefyd nifer mawr o lynau bychain a mawrion trwy yr holl wlad. Cafwyd allan i foddlonrwydd terfynol y gellir cael dwfr da yn yr holl diriogaeth drwy gyfrwng ffynonau, yn ychwanegol at yr aml *springs* byth rhedegog, eir, a geir trwy y wlad.

G.—*Pa ragolygon y sydd am Lo?*

A.—Y mae glofeydd y wlad, er mewn ystad an-nadblygedig eto yn dechreu tynu sylw cyfalafyddion. Gwyddys fod cyflawnder o lo yn gorwedd yn ngwahanol barthau o'r wlad. Rhydd dadblygiad y rhai hyn derfyn ar bob amheuaeth a all fodoli parth cyflenwad digonol o danwydd at wasanaeth dinasoedd a threfi dyfodol y Gogledd-orllewin. Gan fod y *Canadian Pacific* wedi ei hagor i Thunder Bay, ar Lyn Superior, gellir o hyn allan at-gludo glo a'i werthu am brisiau llawn mor resymol a'r rhai sydd mewn ymarferiad yn y Talaethau cyfagos.

G.—*A oes yno gyflawnder o wair?*

A.—Y mae yno rhwng deugain a haner cant o amrywiaeth o laswellt gwyllt.

Byddai i helaethrwydd y dail o bob rhywogaeth o lysiau dynu sylw yr Amaethydd o flaen odid i bobpeth. Tra y mae bron yr oll o laswellt y Canada Ddwyreiniol yn gallodr neu wlyddyn un paladr, ac heb ond un, dwy, neu dair deilen, y mae y rhan fwyaf o laswellt y Gogledd-orllewin yn meddu ar o 10 i 20 o ddail. Y mae neillduolrwydd hwn mewn glaswellt yn werthfawr, yn gymaint a bod y dail yn llawer haws eu treulio na'r coesau. Neillduolrwydd arall ydyw mireiniwch callodrau glaswellt y gwastattir, yr hyn sydd yn un arwydd sicr o ansawdd dda y borfa. Ychwanegwch at hyn yr helaethrwydd digyffelyb o hadau sydd i'w cael ar rai rhywogaethau; gwnant y porthiant o ran ei natur fel *feed* o rawn. Gwelir trwy hyn nad yw y chwedlau parth effeithiolrwydd gwair *prairie* at gyflym dewychu y da yn gamarweiniol.

G.—*Rhoddwch restr o'r rhywogaethau o laswellt.*

A.— Gwnawn, a hyny yn yr iaith Seisonig: (1) *Brown-tops* neu *Cedar-grass*, (o werth mawr, yn meddu bonyn teg a chyflawnder o ddail.) (2) Amryw rywogaethau o *Red-top* (maethlon odiaeth). (3) Y *Pea-grass*, porfa ragorol i'r gwartheg y gauaf. (4) Y *beaver-hay*, llawer amgenach na'r llysieuyn o'r un enw yn Canada Ddwyreiniol. (5) *Scotch-grass*, gwair mewn ffafr neillduol yn y gogledd-orllewin. (6) Yr *Upland-hay*, tyf ar ucheldiroedd y *prairie*; y mae o ansawdd ragorol.

Ceir y canlynol yn mysg glaswellt y borfa;—Bone, Blue, Buffalo, Blue-joint, Sedge-hay, Colony-hay, June-grass. Buss and wheat grass, a rhywogaethau eraill, y rhan fwyaf o honynt o natur faethol, a rhai o honynt yn arbenig o brydferth eu ffurf a'u lliw.

G.—*A ydyw y wlad yn gyfaddas at fagu anifeiliaid?*

A.—Arfaethwyd i Manitoba fod y lle enwocaf at fagu anifeiliaid o'r un wlad yn yr holl fyd. Y mae eu gwastattiroedd diderfyn yn orchuddedig gan laswellt brasdyfol, yr hwn pan dorir ef a ildia o dair i bedair tunell yr erw. Y mae ei nosweithiau claiar, pa rai a wnaethant Manitoba yn enwog, yn neillduolrwydd manteisiol arall gyda golwg ar fagu da. Heblaw hyn y mae sychder ac iachusrwydd neillduol y gauaf yn tueddu at dewychu a gwella ansawdd y da. Mantais arall gyda golwg ar yr un amcan ydyw yr hawsder gyda pha un y gellir diodi yr anifeiliaid â dyfroedd grisialaidd. Ystyriaeth arall yn tueddu at gadarnhau yr un gosodiad ydyw y toraeth gwair sydd yn mhob man. Gwaith hawdd i amaethydd ydyw porthi ei ysgribliaid ar hyd y gauaf; ac yn ychwanegol at yr oll o'r ystyriaethau y mae, ac fe fydd yn wastad farchnad barod ar gyfer y *beef*.

Y mae y sefydliadau gwartheg wrth droed dwyreiniol y Mynyddoedd Creigiog wedi bod yn rhyfeddol o lwyddianus; y mae yn rhai o honynt gynifer ag 20,000 o dda yn cael eu darparu ar gyfer y farchnad. Gauafa gwartheg yn dda yn Ngogleddorllewin Canada, ac ond eu lletya yn briodol dros nos, byddant yn gnawdol a thew yn y gwanwyn.

# PENNOD V.

## FFERMYDD, TREULIAU, ENILLION, MARCHNADOEDD, FFRWYTHAU, LLAFUR, &c.

G.—*Pa fodd y byddwch yn dechreu fferm yn Ngogleddorllewin Canada?*

A.—Bydd i amser sefydlydd newydd a elo i'r wlad yn Ebrill a Mai gael ei gymeryd i fyny yn llwyr ar y dechreu wrth ddewis lleoliad da i'w fferm, a phrynu y pethau angenrheidiol ar gyfer dechreu gweithio. Barn gyffredin sefydlwyr ydyw, mai diwedd Mai a misoedd Mehefin a Gorphenaf ydynt yr amser goreu i dori y tir. Dylai y tir a droir y pryd hwnw gael ei ail droi yn Medi. Ar y cyntaf troer yn ysgafn a theneu, a throer yn ol yn ddwfn. Os ewyllysia, gall dyn bywiog godi *crop* y flwyddyn gyntaf, digonol i dalu ei dreuliau. Ceirch ydyw yr hadyd goreu i'w hau. Dylid tori digon o wair yn Ngorphenaf ar gyfer porthiant yr anifeiliaid y gauaf. Nid oes raid cau allan (*fencio*) y tir toredig hyd nes y bo yr hadyd wedi ei ddodi ynddo, ond daw y ffermwr i weled y bydd ar ei fantais wrth gau ei diroedd allan gan gynted ag y gallo—naill a'i gyda gwifren neu gledren (*wire or rails*).

Gall y teulu drigo mewn pabell yn ddedwydd hyd Hydref, ond dylid bod yn ofalus i ddechreu adeiladu annedd-dy cynes, a thai i'r anifeiliaid yn gynar yn y tymhor hwnw—nid yn ddiweddarach na chanol Awst neu y cyntaf o Fedi. A gellir prynu y cyntaf, y ty, wedi ei wneyd yn barod yn Winnipeg am o 60p. ac uchod; neu gellir ei adeiladu o foncyffion (*logs*), a'i wneyd yn dra chlud. Am yr olaf, gellir eu gwneyd o foncyffion neu o dyweirch: morio tawel a dibryder fydd ar ol goroesi y gauaf cyntaf.

G.—*Pa rai fyddant dreuliau cyntaf yr ymsefydlwr?*

A.—Ar ei ymadawiad i'r Gogledd-orllewin ni ddylai yr ymfudwr feichio ei hun ond â chan lleied ag a fyddo modd o glud (*luggage*). Gall brynu pob peth angenrheidiol arno yn Manitoba, a hyny am brisiau rhesymol, heblaw y caiff felly arfau a nwyddau mwy cyfaddas i'r wlad na dim a all efe ei ddwyn iddi. Y mae y rhestr ganlynol yn amcan-gyfrif o draul mewn ffordd gymedrol:—

| | |
|---|---|
| Angenrheidiau am un flwyddyn | £50 |
| Iau o ychain | 37 |
| Un fuwch | 7 |
| Wagon | 16 |
| Gwydd ac og | 7 |
| Amryw offerynau | 5 |
| Cooking stove a llestri tin | 5 |
| Dodrefn, &c., dywedwch | 12 |
| Treuliau eraill, dywedwch | 10 |
| | £149 |

At yr uchod, rhaid ychwanegu y taliad cyntaf am dir, os na chymerir cartref rhad neu ragbryniant; ond gall dyn meddylgar, egniol, gael amser i enill rhyw gymaint er cyfarfod ei dreuliau cyntaf, naill ai ar y ffordd haiarn neu ar dir amaethwyr cymydogaethol, heblaw y siawns o gael *crop* hanerog y flwyddyn gyntaf. Gall yr ymsefydlwr a all ymffrostio mewn 500 o bunau ar ei ddyfodiad i Manitoba fod yn ddyn annibynol, ac nis gall fethu llwyddo gyda gofal arferol a pheth egni. Y mae llawer o ymsefydlwyr ar y dechreu heb allu ymffrostio yn negwm y fath swm a 500 o bunau, ac eto wedi llwyddo.

G.—*Pa rai ydynt enillion ffermyddiaeth yn y Gogledd-orllewin?*

A.—Yn y cyfrifon canlynol cymerwyd pob gofal rhag gor-wneyd yr hyn a ellir gyda diwydrwydd, egni, a dyfalbarhad, ei elwa.

I. Y FLWYDDYN GYNTAF—TRAUL.

| | |
|---|---|
| Gwarion ymsefydlwr gyda theulu, dyweder o 5: bwydydd am un flwyddyn | £50 |
| Un iau o ychain | 37 |
| Un fuwch | 7 |
| Gwydd ac og | 7 |
| Wagon | 16 |
| Arfau, &c. | 5 |
| Stove, &c., cyflawn | 5 |
| Dodrefn | 12 |
| Amrywion, dyweder | 10 |
| | £149 |

Ar ddiwedd y flwyddyn bydd ganddo dy Log cymfforddus, ysgubor, &c., gwartheg, arfau, a dyweder, 20 erw o dir wedi ei lafurio ac yn barod i'r hadyd.

II. YR AIL FLWYDDYN.

| | |
|---|---|
| Enillion oddiwrth gnwd yr 20 erw—600 bwsiel o rawn yn ol 80 cents | £96 |
| Treuliau, dyweder | 60 |
| | £36 |

Elw clir, 36p., heblaw byw, a bydd ganddo 20 erw ychwanegol o dir wedi ei lafurio.

III. Y DRYDEDD FLWYDDYN.

| | |
|---|---|
| 40 erw yn rhoddi 1200 bwsiel (cibyned) yn ol 80 cent | £192 |
| Treuliau, yn cynwys ychwanegion o dda ac arfau | 100 |
| | £92 |

Elw clir, 92p. a byw. Gyda'r ychwanegiad yn rhif ei dda a manteision eraill; gall o leiaf dori 30 erw ychwanegol o dir.

IV. Y BEDWAREDD FLWYDDYN.

| | |
|---|---|
| 70 erw a rydd iddo, 2100 bwsiel o rawn yn ol 80 cent | £335 |
| Treuliau ar Stock, arfau, ac angenrheidiau | 120 |
| | £215 |

Elw clir, 215p., a 30 erw ychwanegol o dir llafur.

V. Y BUMED FLWYDDYN.

| | |
|---|---|
| Can erw a rydd iddo, 3000 bwsiel o rawn yn ol 80 cent | £480 |
| Treuliau llai fel y flwyddyn o'r blaen | 120 |
| | £360 |

Elw clir, 360p. Ar ddiwedd y bumed flwyddyn saif o ran ei eiddo a'i amgylchiadau fel hyn:—

| | |
|---|---|
| Arian mewn llaw | £703 |
| 160 erw o dir yn codi mewn gwerth hyd o leiaf £1 yr erw | 160 |
| Ty, ysgubor—prisiau isel | 50 |
| Stock, yn cynwys gwartheg a cheffylau | 120 |
| Arfau amaethyddol (50 y cant o'u gwerth), dyweder | 40 |
| Dodrefn, &c. | 30 |
| | 1103 |
| Arian ar y tir os wedi prynu gan Gwmni y Ffordd Haiarn | 90 10 4 |
| I gredydd y fferm | £1008 9 8 |

Yn ol yr amcangyfrif uchod, a chaniatau fod diffyg wedi bod ar gynyrch y cropiau, neu lai o dir wedi ei drin, byddai i'r ymsefydlwr gael ei hun ar ddiwedd y 5 mlynedd gyda fferm wedi ei *stockio* yn dda, yr oll wedi talu am danynt, a chyda hyny, swm go dda o arian wrth ei gefn yn yr ariandy.

G.—*A ydyw y marchnadoedd yn hawdd myned iddynt?*

A.—Y mae canol-fanau bychain masnachol yn parhaus ymgodi pa le bynag y sefydla ychydig bobl: fel rheol cynwysa y rhai hyn o leiaf un neu ychwaneg o ystorfäau lle y gall amaethwyr gael marchnad barod i'w cynyrchion. Nid yw y gorsafoedd ar linell y *Canadian Pacific* yn fwy nag o 8 i 9 milldir oddiwrth eu gilydd: ac y mae yn mwriad y Cwmni i adeiladu ystorfau uchel at ystorio ŷd, &c., er galluogi amaethwyr i ymadaw â'u grawn am brisiau da o'r bron yn ymyl eu drysau. Cipdrem ar y *map* a ddengys fod Manitoba, sef Ffordd Haiarn y *Canadian Pacific*, yn meddu agosach cysylltiad â'r môr nag a fedd Minnesota, Dakota, nac un dalaeth Orllewinol arall â New York, fel y mae allforiad grawn Gogledd-orllewin Canada am brisiau enillgar yn sicr. Bydd dyfodiad cymifer o bobl, ac agoriad ffyrdd haiarn a gweithiau cyhoeddus, yn sicr o greu galw cartrefol mawr am rai blynyddoedd, a thrwy hyny leihau y swm i'w allforio. Gwelir oddiwrth yr adroddiad canlynol a gyhoeddwyd yn y Winnipeg *Free Press* am Awst 31, 1882, fod prisiau cynyrchion tyfol yn bur deg:—

| | | | | |
|---|---|---|---|---|
| Gwenith | 3s. 2c. | i | 3s. 4c. | y bwsiel |
| Ceirch | — | „ | 3s. 0c. | „ |
| Pytatw | 4s. 0c. | „ | 5s. 0c. | „ |
| Ymenyn | — | „ | 1s. 3c. | y pwys |
| Wyau | — | „ | 1s. 4c. | y dwsin |

Bydd i erw o dir yn Manitoba yn ol y prisiau uchod elwa mewn

| | |
|---|---|
| Gwenith | £5 2 0 |
| Ceirch | 8 11 0 |
| | £13 13 0 |

Bydd i erw o dir yn Minnesota (Unol Daleithiau) yn ol yr un pris enill mewn

| | |
|---|---|
| Gwenith | £2 17 10 |
| Ceirch | 3 11 0 |
| | £6 8 10 |

neu mewn geiriau eraill, gall ffermwr Manitoba fforddio gwerthu ei rawn 50 y cant yn rhatach na ffermwr Minnesota, a bod yn llawn cystal allan, am mai tebyg ydyw gwerth llafur yn y ddau le.

G.—*Beth am gynyrch y cnydau?*

A.—Dengys y tabl canlynol, yr hwn a gymerwyd o ffynonau swyddogol, gyfartaledd y cynyrch yn ystod y 5 mlynedd diweddaf yn Manitoba:—

| | 1877 | 1878 | 1879 | 1880 | 1881 |
|---|---|---|---|---|---|
| Gwenith | 26¼ | 26⅓ | 26¾ | 29⅓ | 20 |
| Ceirch | 59[illegible] | 59¾ | 58 | 57¾ | 52 |
| Haidd | 40¼ | 63 | 37⅔ | 41 | 40 |
| Pys | 32 | 34 | 32¼ | 38¼ | 28 |
| Pytatw | 301 | 308 | 302 | 318 | 320 |
| Rhyg | 30 | 20 | 40 | 40 | 35 |

Cymharer yr uchod â chynyrch rhai o'r Talaethau Americanaidd a'r trefedigaethau Prydeinig, a gymerwyd o ystadegau swyddogol,—

I. GWENITH.

| | | |
|---|---|---|
| Minnesota, "average yield" yr erw | 17 | bwsiel |
| Wisconsin „ „ „ | 14 | „ |
| Pennsylvania „ „ „ | 14 | „ |
| Massachusetts „ „ | 16 | „ |
| New Zealand „ „ „ | 17½ | „ |
| Awstralia „ „ „ | 11 | „ |

SYLW:—Amcangyfrif y gost o dori, aredig, hau, a chynauafu, ar awdurdod dda ydyw, £2 4s. i £2 16s. yr erw, yr hyn, wrth reswm, a gynwys lafur yr amaethydd a'i deulu.

II. HAIDD.

| | | |
|---|---|---|
| Minnesota "average yield" yr erw | 25 | bwsiel |
| Wisconsin „ „ „ | 20 | „ |
| Iowa „ „ „ | 22 | „ |
| Ohio „ „ „ | 19 | „ |
| Indiana „ „ „ | 19 | „ |
| Illinois „ „ „ | 17 | „ |

III. CEIRCH.

| | | |
|---|---|---|
| Minnesota "average yield" yr erw | 37 | bwsiel |
| Iowa „ „ „ | 28 | „ |
| Ohio „ „ „ | 23 | „ |

### G.—*Pa fodd y llwydda Gwreiddiau (Roots) a phlanigion tyfol?*

A.—Llwydda y naill fel y llall yn gampus yn Manitoba, fel y gwelir oddiwrth yr engreifftiau dilynol a gymerwyd o adroddiadau amaethwyr:—

S. C. Higginson, Oakland, a dyfodd fresych (*cabbages*) yn pwyso 17½ yr un.

Allen Bell, Portage-la-Prairie, a dyfodd fresych 45 modfedd o amgylchedd, a maip yn pwyso 25 pwys yr un.

R. E. Mitchell, Cooks Creek, a gododd pumplen Amerig (*squash*) chwe' wythnos o dyfiant, yn mesur 5 troedfedd a 6 modfedd o amgylchedd.

James Airth, Stonewall, a ddywed mai pwysau cyffredin ei faip ef ydyw 12 pwys yr un: cafwyd rhai yn pwyso 32¼ pwys yr un.

William Moss, o High Bluff, a dyfodd *carrots* yn pwyso 11 pwys yr un, a maip yn mesur 36 o fodfeddi o amgylchedd.

Isaac Casson, o Green Ridge, a gododd yn ol 270 bwsiel o wynwyn yr erw.

John Geddis, o Kildonan, a ddywed iddo godi yn ol 300 bwsiel o *carrots* yr erw.

Joshua Appleyard, o Stonewall a ddywed fod ei *grop* ef o faip yn ol 1000 o fwsieli yr erw; pwysent fel rheol 12 pwys yr un.

Francis Ogletree, o Port-la-Prairie, a dyfodd wynwyn yn mesur 4½ modfedd ar eu traws.

W. H. J. Swain, o Morris, a dyfodd *citrons* (ffrwyth tebyg i *lemon*) yn pwyso 18 pwys yr un.

A. V. Beckstead, o Emerson, a rydd ei brofiad fel hyn:—*Mangel-wurzel* (betys y maes) yn pwyso 27 pwys yr un; *beets* (betys) yn pwyso 23 pwys yr un; bresych yn pwyso 49 pwys yr un: wynwyn yn pwyso 1½ pwys yr un.

W. B. Hall, o Headingly, a gododd *beets* yn pwyso 20 pwys yr un; ei faip a bwysant fel rheol 12 pwys yr un.

Phillip McKay, o Portage-la-Prairie, a dyfodd fresych yn mesur 26 modfedd o fater caled ar eu traws, a phedair troedfedd gyda'r dail. Mesura ei wynwyn 16 o fodfeddi o amgylchedd, a'i *cauliflowers* 19 modfedd ar eu traws.

Jas. Lawrie a'i Fro., o Morris, a dyfasant faip yn 30 modfedd o amgylchedd; wynwyn 14 modfedd, a *melons* 30 modfedd. Bu ganddynt un *squash* (pumlen), yr hon a fesurai yr un faint ac amgylchedd *barrel* cyffredin o flawd.

James Owen, Point Du Chene, a gafodd faip 30 pwys yr un; wynwyn 14 modfedd o amgylchedd, a *cucumbers* 18 modfedd o hyd.

Neil Henderson, o Cooks Creek, a gododd 1000 bwsiel o faip ar yr erw; *carrots* yn bum' modfedd o draws-fesur, a 18 modfedd o hyd, tra y mesura ei wynwyn yn fynych 5 modfedd drwyddynt.

Jas. Bedford, o Emerson, a gododd 1000 o fwsieli o faip ar yr erw.

Y mae i'w gofio na ddefnyddiodd yr un o'r amaethwyr blaenorol foddion neillduol i gynyrchu yr hyn a ddesgrifiwyd. Allan o adroddiadau agos i 200 o amaethwyr y Gogledd-orllewin parth tyfiant eu *roots* a'u *vegetables*, ni chaed yr un yn anffafriol.

### G.—*A ydyw y cnydau fel rheol yn sicr?*

A.—Nid oes gynron, pryfed na malldod i ddinystrio y cnydau; dim ystormydd na thymorau gwlybion. Y mae y Gwanwyn yn glir a sych, Mehefin yn wlyb tra y cnydnau yn tyfu; y mae cynhauaf gwlyb o'r braidd yn beth anadnabyddus yn y wlad. Y mae *crops* yn sicr yn Manitoba.

### G.—*A oes angen am wrteithion?*

A.—Ni ddefnyddir gwrteithion yn y Gogledd-orllewin, ac ond ychydig iawn o dail cyffredin. Y mae y ddaear yn rhy fras i'w oddef, o leiaf am y flwyddyn gyntaf a'r ail; dadleua rhai amaethwyr fod defnyddio gwrtaith yn gordyfu y cnydau, ond y ffordd ddoethaf ydyw, defnyddio ychydig wrtaith ar ol yr ail flwyddyn, er atal gwanychiad y tir.

### G.—*Pa beth yw ansawdd y grawn a godir yn Manitoba?*

A.—Nis gallaf ateb y cwestiwn hwn yn well na thrwy roddi y ysgrif-dyst a ganlyn o eiddo boneddwr enwog, yr hwn a archwiliodd beth o'r samplau cyffredin a ddygais i oddiyno:—

MONTREAL, Ionawr, 17, 1882.

Archwiliais y samplau o rawn Manitoba a ddygwyd i mi gan Alexander Begg o'r Canidian Pacific Railway.

Y mae Sample o wenith Fife yn neillduol o dda, a No. 1 yn galed; am wenith o'r ansawdd yma y mae y melnyddion ar hyn o bryd yn taer geisio.

Y mae yr haidd, ceirch du a gwyn, pys a ffa a ddangoswyd i mi, oll o ansawdd uwchraddol, a hawliant bris pur uchel yn y farchnad. A. MITCHELL,

Llywydd Cymdeithas Cyfnewidfa Yd, Montreal.

G.—*Beth am bris llafur amaethyddol?*

A.—Y mae yn anhawdd rhoddi gwybodaeth bendant ar y pwynt yma. Nid oes dadl na bu yn uchel, yn neillduol ar dymor cynhauaf, pan y mae galw mawr am ddynion i gynull yr ŷd. Ond y mae i fynediad cynifer o bobl i'r wlad duedd anwadadwy i leihau pris llafur. Y mae un pwynt i'w ystyried beth bynag, sef y gall amaethwr yn Manitoba, gyda'i gnwd anferth a'i brisiau da, fforddio talu cyflogau cydmariaethol uchel, ac wedi hyny gael allan fod ei ffermwriaeth yn dra enillgar.

G.—*A ydyw ffermwyr yn llwyddo yno?*

A.—Os cymerir eu tai clud a llawn, a'u peirianau amaethyddol cywrain a hwylus fel prawf o hyny, dywedsawn eu bod. Yn mhob ty fferm ceir gweled peiriant gwnïo; mewn llawer ceir yr organ, ac nid ychydig y sydd ar nad ydynt yn gallu ymffrostio mewn *pianos* ac eraill o foethau cartref dedwydd.

G.—*Beth am ffermwriaeth y Llaethdy?*

A.—Tueddir fi i anog sefydlwr i uno ffermwriaeth y llaethdy a'r grawn ar ei dir. Y mae gweirgloddiau ardderchog y wlad, gyda'u glaswellt melus yn addas odiaeth i bwyntio anifeiliaid, a chynyrchu y llaeth cyfoethocaf a'r ymenyn pereiddiaf yn y byd. Ond cael y ddau, bydd ganddo afael sicr ar ben ffyrfaf dwy ffon bywoliaeth.

G.—*A boenydir chwi gan Ystormydd gerwin?*

A.—Y mae y fath bethau braidd yn anadnabyddus. Ceir ambell storm o daranau, ond dim trowyntoedd i ysgythru y wlad, a difa bywyd, fel a geir yn Kansas, Nebraska, a thalaethau gwastadtirol eraill yn yr Unol Dalaethau. Dyma un neillduolrwydd arbenig sydd yn ffafr Gogledd-orllewin Canada.

G.—*Pa beth ydyw "Blizzard"?*

A.—Enw a roddir yn y Gogledd-orllewin ar ystorm erwin o eira. Ni ymwel y rhai hyn ond unwaith mewn tymor—byth fwy na dwywaith. Fel rheol, ni cheir eira yn symiau trymion. Bydd y Prairies yn lân o eira ar draws canol Mawrth, ac erbyn y cyntaf o Ebrill.

G.—*A dyfir Llin a Chywarch yno?*

A.—Byddai yr hen sefydlwyr yn arferol, lawer o flynyddau yn ol, a meithrin cnydau pwysig; byddai y cynyrch yn wastad o ansawdd ragorol. Y gwyn gyffredinol y pryd hwnw oedd angen marchnad iddo, a pheirianau cymhwys i'w weithio; hyny a barodd iddynt laesu dwylaw gyda y ganghen bwysig hon o amaethyddiaeth. Adnewyddwyd diwylliio y naill a'r llall ar raddfa eang gan y drefedigaeth o sefydlwyr Rwsiaidd. Y mae ar draws o 8000 i 10,000 o'r genedl hono eisoes yn y wlad, ac er nad oes ond o dair i bedair blynedd er pan sefydlasant, drwy eu diwydrwydd diflino, y maent yn cyflym deithio ffordd fawr cyfoeth.

G.—*A ydyw meithrin gwenyn yn llwyddiant?*

A.—Cerir gwenynyddiaeth yn mlaen yn llwyddianus yn y Gogledd-orllewin; y mae ansawdd yr awyr a'r tir yn fanteisiol i hyny. Angenrheidiau gwenyn ydynt awyr sech a chlir a chyflawnder o flodau; os yr awyr yn llaith, neu y tywydd yn gymylog, ni weithiant cystal. Rheswm arall dros weithio llai mewn hinsawdd boeth ydyw, fod y mel yn aros yn hwy mewn ystad hylifol, ac os cesglir ef yn gyflymach nag y tewycha, y mae yn suro ac felly yn difetha. Y mae ein hawyr glir, disglaer, sech, a'n cyfoeth o flodau, yn dra cyfaddas at feithrin y gelfyddyd o wenynyddiaeth.

G.—*Beth am dyfu Hops?*

A.—Y mae glanau yr afonydd ar aberoedd yn frith o *hops* gwyllt; dyma a ddywed trigianydd am danynt:

Casglais HOPS gwylltion a phlenais hwynt yn fy ngardd gydag ymylon y rheilgau; dygwyd hwy i fyny ar hyd polion, ac ni welais eu gwell erioed yn Yalding a Staplehurst, yn Kent, Lloegr.

LOUIS DUNESING (Emerson).

G.—*A ydyw ffrwythau yn doreithiog?*

A.—Y mae ffrwythau Gogledd-orllewin Canada yn doreithiog a pheraidd eu blas. Dyma adroddiadau rhai amaethwyr ar y mater:

Ceir cynyrchion digyffelyb o Strawberries, Currants, Goosberries, Raspberries, a phob màn ffrwythau eraill; addawant fod yn gynyrchion enillgar. W. A. FARMER (Headingly)

Plenais 20 o goed afalau ddwy flynedd yn ol, a thyfant yn rhagorol. H. J. MOORE (Nelsonville).

Y mae genyf dros 1000 o goed afalau; gwnant yn bur dda; hefyd coed rhyfon duon (Black Currants) o'r dosbarth blaenaf JAMES ARMSON (High Bluff).

G.—*A oes yno helyddiaeth?*

A.—Mantais ragorol i saethu yn mhob man, fel y gwelir oddiwrth y rhestr ganlynol o adar a gwylltfilod:—

*Game Bychain.*—Hwyaid, Gwyddau, Colomenod, Ieirgoed, Petris, Garan, Gïach, Cornchwigl, Cwningod, &c.

*Game Mawr.*—Carw, Buffalo, Moose, Antelope, a llu eraill o anifeiliaid crwynflewog.



SAETHU AR Y SOURIS.

G.—*Beth am ymlusgiaid gwenwynig a thrychfilod?*

A.—Nid yw y fath bethau yn adnabyddus yn y wlad.

G.—*Beth am bysgota?*

A.—Y mae yr afonydd a'r llynau yn dryfrith o'r pysg a ganlyn:—Sturgeon o faint mawr, pysgod gwyn, pickerel, pike, bass, perch, suckers, sun-fish, gold-eyes, carp, trout a maskinonge.



YR AFON GOCH.

G.—*Beth am yr ymsefydlwyr sydd yn bresenol yn y Canadian North-west?*

A.—Y maent o'r dosbarth goreu o amaethwyr o barthau dwyreiniol Canada: llawer o Loegr, Ysgotland, Iwerddon: llawer o'r Unol Dalaethau. Y mae hefyd nifer o Norwigiaid, Swediaid, Germaniaid, ac y mae hefyd sefydliad lluosog o Mennoriaid Rwsiaidd ac Icelandiaid—yr oll o ba rai sydd yn gwneyd yn dda. Y mae hefyd lawer o Ffrancod, a nifer bychan o Iuddewon Rwsiaidd, y rhai sydd erbyn hyn wedi ymsefydlu yn gysurus ac yn foddlawn. Fel rheol, y mae y bobl yn rhai parchus a deddfgarol.

# PENNOD VI.

## YSGOLION, DEDDFWRIAETH, RHEILFFYRDD, MELINAU, &c.

G.—*A oes yno eglwysi?*

A.—Y mae yno bron bob enwad, ac y maent oll mewn sefyllfa lwyddianus. Pan na bo sefydliad yn ddigon lluosog i gynal addoldy, y mae bob amser ymwelwyr clerigol i gyflawni y gwasanaeth. Wrth ddefnyddio y gair "clerigwyr" ni olygir wrtho offeiriad o fath eiddo eglwys sefydledig neu babaidd. Golygir y gair yn gyfystyr â gweinidogion.

G.—*A oes yno unrhyw gyfundrefn ddinesig?*

A.—Parthir y wlad yn fwrdeistrefi gan gyflymed ag y caniata cynydd y sefydliadau iddynt wneyd hyny. Y cyfluniadau dinesig hyn sydd yn cymeryd gofal y ffyrdd a'u hadgyweiriadau; nid oes ffyrdd-dollau yn y wlad. Gweinyddir pob materion lleol eu natur gan y maer â chyngor, y rhai a etholir yn flynyddol gan bobl y gymydogaeth.

G.—*Beth am gyfundrefn Addysg?*

A.—Y mae o ddosbarth uchel ac effeithiol. Dygir yr ysgolion ymlaen ar gynllun y *seperate school system*: derbynia swm helaeth o rodd gan y llywodraeth leol, eithr y mae hefyd ddwy ddosran (*section*) o dir wedi eu neillduo yn mhob trefgordd, enillion pa rai sydd yn myned at gynal yr ysgolion. Y mae i bob dosran ei harolygydd, a disgwylir i bob athraw basio arholiad caled cyn yr apwyntir hwy. Gweinyddir gan hyny addysg o radd uchel.



COLEG MANITOBA, WINNIPEG.

G.—*A oes Sefydliadau Cynrychioladol wedi eu cyflawn sefydlu yn Manitoba?*

A.—Oes. y mae yno Gynghorfa Ddeddfwrol o 30 o aelodau etholedig gan y bobl bob 5 mlynedd. Rhaglaw-llywodraethol a Chynghor Gweinyddol, yn gynwysedig o Drysorydd Talaethol, Twrne Cyffredinol, Gweinidog y Gweithiau Cyhoeddus, Ysgrifenydd Talaethol, Gweinidog Amaethyddiaeth, a Llywydd y Cynghor. Y mae gan Manitoba bump o aelodau yn Nhy Cyffredin Canada, a thri yn y *Senate*. Etholir y rhai cyntaf bob pum' mlynedd gan y bobl; dewisir yr ail gan Lywydd y Cynghor, a phenodir hwy am eu hoes.

G.—*A oes Cymdeithasau Dyngarol neu arall yn Manitoba?*

A.—Oes. Dyma restr:—

St. George's Society............Masonic Lodges
St. Andrew's Society............Orange Lodges
St. Patrick's Society............Temperance Society
St. Jean Baptiste Society......Independent Order of Foresters
I. O. O. F. Lodges..................Y. M. C. Association

G.—*Beth am farchnad llafur yn gyffredinol?*

A.—Oherwydd yr adeiladu mawr sydd ar hyn o bryd yn myned ymlaen yn ninasoedd a threfi y wlad, y mae y celfyddydwyr yn lled anhawdd eu cael, a'r cyflogau yn gyfatebol uchel:—

| | | |
|---|---|---|
| Seiri priddfeini | 16s. i 28s. | y dydd |
| Painters | 12s. i 14s. | „ |
| Seiri coed | 14s. i 16s. | „ |
| Plasterers | 14s. i 16s. | „ |

A galwedigaethau eraill ar gyfartaledd.

Bu Ffordd-haiarn y *Pacific* yn talu yn ol 8 swllt y dydd i labrwrs, ac yr oedd o 3000 i 4000 o ddynion yn gyflogedig ar hyd yr haf yn gwneud y dosran Canolog, neu y Prairie, o'r ffordd.

Bu galw mawr am labrwyr, a thebygol y parhant felly am dymhor. Y mae dadblygiad cyflym y wlad, a chynydd rhyfeddol dinasoedd a threfi, yn sicrwydd am waith a chyflogau da i nifer mawr o gelfyddydwyr a labrwyr am rai blynyddau.

G.—*Pa mor bell y rhed Ffordd-haiarn y Canadian Pacific drwy wlad y Prairie?*

A.—Gorphenir y llinell y flwyddyn hon (1883) yr holl ffordd i'r mynyddoedd Creigiog.

G.—*Pa nifer o filldiroedd fydd gan y Canadian Pacific mewn "running order" y flwyddyn hon?*

A.—Ar draws 2000—efallai fwy.

G.—*Pa faint, fel rheol, ydyw pellder y gorsafoedd oddiwrth eu gilydd ar linell y Canadian Pacific?*

A.—O naw i ddeng milldir.

G.—*Pa mor agos i'r Ffordd-haiarn y gellir prynu tir?*

A.—Ar fin y Ffordd-haiarn.

G.—*Pa mor bell yn ol oddiwrth y llinell y mae tir Rhodd y Cwmni yn ymestyn?*

A.—24 milldir bob ochr i'r ffordd.

G.—*Pa fodd y mae llinell y Canadian Pacific yn myned yn ei blaen?*

A.—Pan gwblheir hi, llinell y Canadian Pacific fydd y llinell draws-gyfandirol feraf yn America. Hi hefyd fydd y ffordd feraf cydrhwng Lloegr ac India, China, a Japan; am hyny y mae yn ddiameu yn rhwym o dynu iddi ei hun ran helaeth o fasnach y cyfryw wledydd. Ar hyn o bryd, Montreal ydyw terfyn dwyreiniol y llinell. Y mae yno swyddfaäu a gorsafoedd ardderchog, a *workshops* anferth eu maint.

Er nad yw y Cwmni yn fwy na dyflwydd oed, y mae ganddynt eisoes mewn gweithrediad ar draws 1,500 o filldiroedd o ffordd haiarn, a chyn terfyn 1883, teimlir yn bur hyderus y bydd o leiaf 2000 o filldiroedd wedi eu gorphen. Y mae swyddfaäu cyffredinol neu benaf y Cwmni yn Montreal, ac o'r pwynt hwnw rhed y llinell drwy wlad amaethyddol dda i Ottowa, eisteddle Llywodraeth y Dalaeth. Oddiyno â ar hyd gwlad nodedig o fras mewn coed a mwnau, gyda godre gogleddol Llyn Superior, i Thunder Bay, lle yr ymganghena y llinell i gyfeiriad Manitoba. Nid yw y ddolen rhwng Thunder Bay, ar ddosran dwyreiniol o'r llinell, eto yn gwbl barod, ond cerir y gwaith yn mlaen yn gyflym. Y mae golygfeydd llawer o gymydogaethau ar hyd llinell y Dosran Dwyreiniol heb eu hail yn holl America am brydferthwch ac arucheledd. Rhed y llinell rhwng Thunder Bay a Winnipeg trwy wlad llawn o goed, a cheir mewn rhai parthau y tir amaethyddol goreu.

G.—*A oes yn Manitoba felinau blawd da?*

A.—Y mae lluosogrwydd o felinau gwlad drwy yr holl diriogaethau: yn Winni-

peg y mae tair o felinau mawrion,—y fwyaf yn wyth gradd o uchder, ac yn abl i droi allan amryw gannoedd o falirau o flawd bob dydd.



Melin Ogilvy, Winnipeg.

G. — *Traethwch ychwaneg am nodweddion y wlad a'r Ffyrdd-haiarn.*

A.—Gwnaf.—Mewn lle o'r enw Rat Portage, pellder o 135 o filldiroedd i gyfeiriad dwyreiniol o Winnipeg, y mae y nerth dyfrol rhagoraf yn America; eisoes y mae rhai melinau mawrion wedi eu codi yno. Fel cartrefle gweithiau celfyddydol, disgwylir i Rat Portage fyned y tu draw i Minneapolis, canolfan melinaidd y Talaethau Gogledd-orllewinol.

Yn Winnipeg â llinell y Canadian Pacific i mewn i ororau y Prairie, a rhed am 800 milldir drwy wlad, at ddybenion amaethyddol, nad oes ei chyffelyb ar wyneb yr holl ddaear, yn ol tystiolaeth gyffredinol.

Wrth odreu dwyreiniol y Mynyddoedd Creigiog y mae y sefydliadau gwartheg (*cattle ranches*) y soniwyd am danynt. Oddiyno â y llinell i mewn, a chroesa y Mynyddoedd Creigiog, gyda'u coedwigoedd teg o goed gwerthfawr, a'u gwaddodau o aur, arian, a mwnau eraill. Wedi hyny, ymwthia ymlaen, hyd Port Moody, ar draethell y Mor Tawelog, drwy dalaeth ogoneddus British Columbia.

Rhydd pysgodfeydd, coedwigoedd, cloddfeydd ar bwynt gorllewinol pellaf y llinell, cynyrchion amaethyddol gororau anferthol gwlad y gwastadtir, mwnau, coed, cloddfeydd, a *lumber* y ddosran ddwyreiniol—oll ynghyd fwy na digon o sicrwydd am fasnach enfawr ar linell y Canadian Pacific. Yn ychwanegol at hyny, bydd i'r fasnach a red o gefnfor i gefnfor, o ddwyrain i orllewin, ac o orllewin i'r dwyrain, wneyd prif ffordd y Canadian yn un o'r *trunk lines* pwysicaf yn

Ngogledd America. Eisoes agorir a chynllunir canghenau a llinellau annibynol trwy ororau y *prairie*, y rhai a weithredant fel porthianwyr i'r brif linell.

Y mae cynydd cyflym y gwahanol ddinasoedd ar hyd y llinell yn rhyfeddol. I ddechreu gyda Winnipeg. Ychydig gyda 12 mlynedd yn ol, nid oedd ond pentref bychan gyda rhyw 200 o eneidiau. Yn 1874, gwnaed hi yn ddinas gyda gwerth trethol o 2,076,018 o ddoleri. Yn 1882, gall ymffrostio mewn 25,000 o drigolion, a gwerth trethol o 30,432,270 o ddoleri. Gall heddyw ddangos heolydd llydain, gwastad, a theg, ac o'u deutu siopau *warehouses* prydferth, tai gwych yr olwg, ac adeiladau cyhoeddus ardderchog. Goleuir y ddinas gyda nwy a'r goleuni trydanol. Y mae *street railways* mewn llawn gwaith, a thân-ddiffoddwyr yn eu gorsafoedd yn barod at archiad y dinaswyr: mewn gair y mae holl fanteision a chyfleusderau a fwynheir gan hen ddinaswyr eisoes yn cael eu mwynhau gan ei thrigolion.

Nid oes dim llai na 7 o linellau yn ymganoli yn Winnipeg, ac y mae gorsaf ganolog enfawr a gorwych yn awr yn cael ei hadeiladu. Winnipeg ydyw y drws a phrif bwynt gwasgarol rhwng y Dwyrain a gororau diderfyn prairie Gogledd-orllewin Canada.



LLYN WINNIPEG.

PORTAGE-LA-PRAIRIE.—Y mae Portage yn debyg o ran oedran i Winnipeg, er nad mor fawr; fodd bynag, prifiodd yn gyflym y blynyddoedd diweddaf. Gall ymffrostio mewn amledd o adeiladau gwych, melinau, eglwysi, gwestdai, siopau, ac anedd-dai. Yn gymaint a'i fod yn amgylchynedig gan wregys o wlad amaethyddol heb ei hail yn y Gogledd-orllewin, y mae yn sicr o ddod yn boblog ac yn bwysig fel dinas.

BRANDON.—Brandon ydyw y dref nesaf ar y brif linell, ac er mai yn ngwanwyn 1881 y mesurwyd ac y parthwyd hi allan, gall ymffrostio eisoes mewn poblogaeth o 4000. Y mae ganddi hefyd lawer o adeiladau gorwych, megis melinau, eglwysi, ac adeiladau cyhoeddus eraill. Y mae ei safle ar yr afon Assiniboine, a'r wlad braf a'i hamgylchyna, yn sicrwydd am gynydd a llwyddiant dyfodol Brandon.

BROADVIEW.—Er mai ychydig fisoedd yn ol y mesurwyd allan safle Broadview fel tref, eto rhydd gamrau breision yn nghyfeiriad cynydd. Y mae ganddi orsaf eang a gwych, a nifer dda o siopau. Adeiledir annedd-dai yno wrth y degau ar hyn

o bryd. Y mae Broadview, fel y dengys yr enw, wedi ei lleoli yn nghanol gwlad dda odiaeth.

Capell.—Y mae Capell wedi ei arfaethu i fod yn un o ganol-fanau mwyaf llwyddianus y Gogledd-orllewin, oblegid ei agosrwydd i'r gwregys o dir amaethyddol teg a orwedd yn nyffryn enwog "Qu' Appelle." Fel pwynt manteisiol i wasgaru, bydd Capell yn un o orsafoedd pwysicaf y Canadian Pacific, yn gymaint a bod y wlad o'i hamgylch yn cyflym lanw o'r dosbarth goreu o amaethwyr.

Regina.—Regina fydd prif ddinas Tiriogaeth y Gogledd-orllewin yn y man. Hi ydyw dinas newydd y gwastadeddau. Y mae wedi ei lleoli yn nghanol, fe ddichon, gwlad gwenith brasaf y Gogledd-orllewin. Y mae crigyll (*creek*) llydan a dwfn, yn cynwys o ran ansawdd y dwfr puraf a goreu, yn rhedeg trwy y lle: rhydd yr ychydig godiad sydd yn y tir y fantais oreu i gyfundrefn y carth-ffosydd. Yma yr adeiledir allan o law adeiladau llywodraeth y drefedigaeth, llys y llywodraethwr, gorsaf yr heddgeidwaid marchogol. Rhydd ei safle ganolog yn ngororau y prairie fantais iddi i fod yn ffynonell bywyd masnachol eangfawr.

Dychwelwn unwaith eto at y ffiniau rhyng-genedlaethol. Yno cawn Emerson a West Lynne—dau le pwysig eu safle; y maent braidd gyferbyn a'u gilydd ar yr Afon Goch, ac wedi eu harfaethu cyn hir o bosibl i ffurio un ddinas fawr. Gall y naill a'r llall ymffrostio mewn adeiladau mawrion a hardd, heolydd uniawn a llydain, a masnach fawr a chynhyddol gyda'r dosran deheu-orllewinol o Manitoba. Nid oes genym ragor o fodd yma i ddesgrifio llawer o leoedd eraill dyddorol ar hyd y llinell; rhydd y tabl a ganlyn olwg ar amledd y trefi newyddion sydd yn codi ar hyd y ffordd, a dengys pa mor gyfleus eu lleoliad fel marchnadfeydd i'r sefydlwyr.

# PENNOD VII.

## Y TREFYDD, A'U PELLDER ODDIWRTH EU GILYDD.

G.—*Pa faint ydyw y pellder rhwng dinasoedd, trefi a phentrefi ar y brif linell (Dosran y Prairie) o Ffordd-haiarn y Canadian Pacific?*

A.—Wele restr gyflawn yn canlyn:—

| | Milldiroedd | | Milldiroedd |
|---|---|---|---|
| St. Vincent | — | High Bluff | 8½ |
| Emerson | 2 | Portage-la-Prairie | 7 |
| Dominion City | 10 | Burnside | 7½ |
| Arnaud | 8 | Bagot | 7½ |
| Dufrost | 8 | McGregor | 8 |
| Otterburne | 9 | Austin | 5½ |
| Niverville | 7½ | Sidney | 8 |
| St. Norbert | 11½ | Melborne | 8 |
| St. Boniface | 9 | Carberry | 7½ |
| Winnipeg | 8—68 | Sewell | 8½ |
| Rosser | 15 | Douglas | 7½ |
| Marquette | 14 | Chater | 6½ |
| Reaburn | 6 | Brandon | 5—132½ |
| Poplar Point | 5 | Alexander | 16 |
| Red Jacket | 7 | Griswold | 8 |
| Wapella | 9 | Oak Lake | 8½ |
| Burrows | 8 | Virden | 14½ |
| Whitewood | 6½ | Hargraves | 8 |
| Percival | 7 | Elkhorn | 8½ |
| Broadview | 7½—131 | Fleming | 14½ |
| Oakshela | 7 | Moosomin | 8 |
| Grenfell | 8 | Cassils | 9 |
| Summerberry | 7½ | Pilot Butte | 7 |
| Wolseley | 8 | Regina | 8½—92½ |
| Sintaluta | 8 | Grand Coulee | 10 |
| Indian Head | 10 | Pense | 7 |
| Capell | 11½ | Belle Plaine | 8 |
| McLean | 8 | Pasqua | 9 |

| | Milldiroedd. | | Milldiroedd. |
|---|---|---|---|
| Moose Jaw | 8 | Ernfold | 9 |
| Boharm | 8 | Morse | 10 |
| Caron | 8 | Herbert | 8½ |
| Mortlach | 9 | Rush Lake | 8½ |
| Parkbeg | 9 | Waldeck | 11 |
| Secretan | 10½ | Swift Current | 11—154 |
| Chaplin | 9½ | | |

| | | |
|---|---|---|
| St. Vincent i Winnipeg | 68 | |
| Winnipeg i Brandon | 132.5 | |
| Brandon i Broadview | 131 | |
| Broadview i Regina | 92.5 | |
| Regina i Swift Current | 154.2—578.2 | mill. |

# PENNOD VIII.

## PROFIAD YMSEFYDLWYR YN NGOGLEDD-ORLLEWIN CANADA.

G.—*A fedrwch chwi fy nghynysgaeddu a rhestr o brofiadau pobl sydd wedi ymsefydlu yn y diriogaeth. Un peth ydyw eich tystiolaeth chwi; peth arall, a thra gwahanol, ydyw profiadau y bobl eu hunain am wlad eu mabwysiad. Os oes, gadewch i mi eu cael.*

A.—Y mae yn llawen genyf allu cydsynio â'ch cais.

G.—*Goddefwch i mi ymofyn, Pa fodd y cafwyd y tystiolaethau? A ydynt yn gywir? A ellir dibynu arnynt?*

A.—Gellir. Cafwyd hwy trwy gyfrwng anmhartïol. Perchenog y newyddiadur, *The Winnipeg Sun*, ymgymerodd o hono ei hun âg anfon gohebydd i fysg yr ymsefydlwyr, i gasglu eu tystiolaethau, eu profiadau, a'u barnau am eu cartrefi newyddion. Dodwn yma ychydig o'r llu mawr o dystiolaethau a gyhoeddwyd yn y newyddiadur hwnw.

### I. OPINIYNAU O BERTHYNAS I'R TYWYDD.

(1) *Wm. Warnock.*—Hyfryd a mwynhaol yn yr haf; oer, ond iachusol, yn y gauaf.

(2) *R. J. Warren.*—Oer yn y gauaf, eithr y mae yr awyr yn bur sych; y mae gan yr haf ei ddyddiau poethion a'i nosweithiau oerion. Y mae planhigion tyfol yn anarferol o gyflym. Y mae pytatw cynar wedi bod yn cael eu planu a'u codi at wasanaeth y bwrdd mewn chwech wythnos o amser.

(3) *R. H. Cole.*—Ffafriol.

(4) *T. H. Metcalfe.*—Gydag ychydig o ofal yn y misoedd oeraf—dyweder o Ragfyr hyd ganol Gorphenaf—gall dyn fwynhau hinsawdd Manitoba yn well, yr wyf yn credu, na'r talaethau dwyreiniol.

(5) *J. M. Laurie.*—Credaf fod yr hinsawdd yn well nag Ontario, a chymeryd pob tymhor ar ei ben ei hun.

(6) *R. R. Ross.*—Y mae y gauafau yn oer, eithr nid yn annioddefadwy; nid ydynt yn agored i fwy o ysbranciau natur na'r talaethau hynach.

(7) *Andrew Malcolm.*—Cefais y tywydd yn gyfartal i Ontario, ac mewn rhai pethau yn well. Y mae llawer wedi ei ddyweyd am auafau yma, ond yr wyf fi yn eu hystyried yn fwy dewisol na gauafau Ontario. Ni phoenir ni gan fwd a gwlybfaw yn y gauaf; nid ydym yn cofio meirioliad yn ystod y gauaf, o ganlyniad y mae genym un gauaf sych a rhewllyd ar ei hyd. Fel rheol, daw y gauaf i mewn yn nghanol Tachwedd, a phery hyd y cyntaf o Ebrill.

(8) *Robert Reesor.*—Argraff ffafriol ar ei feddwl am y gauaf; heb weled ei ragorach.

(9) *Alex. Adams.*—Ag eithrio Ionawr a Chwefror, y mae yr hinsawdd yn llawn mor hyfryd ag unrhyw wlad y clywais i am dani.

(10) *Rob. W. Coburn.*—Y mae dyddiau yr haf yn boeth, gyda nosweithiau oerion; y mae oerni y gauaf yn finiog, eithr yr awyr yn sech, ac y mae y dyddiau mewn gwirionedd yn hyfryd odiaeth.

(11) *J. A. Brondgeest.*—Hinsawdd âuafol oer, ond sych; tywydd sych a chlir yn yr haf; gwlaw yn Mai a Mehefin; ffyrdd sychion; ychydig iawn o eira yn y gauaf.

(12) *Jos. Lawrence.*—Nid oes genyf gwyn yn erbyn yr hinsawdd. Yr ydym yn cael ychydig o amser caled weithiau, ond mwy dewisol genyf ef nag eiddo Ontario a Lloegr. Bum yn byw yn Lloegr am un flynedd ar hugain, a deg yn Ontario, felly chwi welwch fod ynwyf gymwysder i draethu barn ar y mater.

(13) *W. G. Knight.*—Braf, sych, iachus; nodedig o gyfaddas at ddybenion amaethyddol.

(14) *Olive Christiansen.*—Iachus, eithr oer.

(15) *Noah Bartley.*—Yr wyf wedi bod yma am dair blynedd; hoffi yr hin yn fawr, y mae y gauafau ychydig yn erwin, ond yn fwy hyfryd nag eiddo Ontario, am eu bod yn fwy sefydlog,—oerni sych, digyfnewid, heb feirioliad na gwlawogydd.

(16) *S. W. Chambers.*—Treuliais bedwar gauaf yma; gweithiais heb gôb uchaf yn yr oerni mwyaf, ac ni theimlais yr un anhwylusdod o'r herwydd.

(17) *W McKitrick.*—Saif naw mis o'r flwyddyn am gymeradwyaeth dda, ond am fisoedd Rhagfyr, Ionawr, a Chwefror, rhaid i'r ymsefydlwr

"Sefyll yr Ystorm,
Caiff fwrw angor gyda hyn."

(18) *Wm. Cox.*—Braidd yn oer y gauaf diweddaf, ond yr oedd hwnw yn eithriad. Y mae yr hin yn dra boddhaol ar y cyfan.

(19) *John L. Loyal.*—Oerach nag Ontario, eithr nid yw yn fy anwydo drwodd, fel y gwna yno; llawn cystal genyf y gauaf yma a'r un yno.

(20) *D. W. Resser*—Caled yw y gauaf, ond mwy dewisol nag Ontario; haf gyda dyddiau hirion a nosweithiau claiar; pur iachusol.

(21) *W. L. Horn.*—Dyma y wlad iachusaf y bum ynddi erioed, ac yr wyf wedi gweled cryn dipyn ar y byd.

(22) *John Leask.*—Iachusol, a rhydd oddiwrth bob afiechyd. Dylid cymeryd gofal yn y gauaf. Ond gwneyd hyn, byddai i Gwmniau Yswiriad wneyd proffit anferth yma.

(23) *Wm. Thompson.*—Lled oer, ond pur iach. Dioddefais fwy oddiwrth rewfrathiadau yn Ontario nag yn Manitoba.

(24) *W. A. Farmer.*—Iachusol a bywiocaol. Gall pob un mewn iechyd da sefyll pob oerni a deimlais i.

(25) *Kenneth McKenzie*, cyn M.P.P.—Yr wyf wedi bod yma er's 15 mlynedd, ac yn hoffi yr hinsawdd yn fawr.

(26) *J. A. Millan.*—Bum yma am 10 mlynedd, ac ni frathwyd fi unwaith gan y rhew.

(27) *James Campbell.*—Da; ychydig yn fwy gerwin nag Ontario, ond mwy sefydlog ac iachach.

☞ DIGON ONIDE? YN WYNEB DAU NEU DRI O DYSTION Y BYDD SAFADWY BOB GAIR.

G.—*A fedrwch chwi roddi i mi eto rai engreifftiau o lwyddiant a chynydd y sefydliadau?*

A.—Gallaf.

## II. OPINIYNAU Y SEFYDLWYR.

(1.) *Genius J. Webb, Glenora.*—Y mae ganddo 320 o aceri; y mae 150 o'r cyfryw wedi ei dori; y mae ganddo dŷ, stabl, &c.; y mae yma er's 4 blynedd.

(2.) *A. Chester, Maringhurst.*—Yma er's blwyddyn; torodd 23 o aceri o'r 320 a ddelir ganddo; adeiladodd dŷ ac ystabl.

(3.) *Thomas Kennedy, Sloddartsville.*—Yn y wlad er's 3 blynedd; y mae ganddo gartref rhad, 65 o aceri o'r cyfryw wedi ei dori; wedi adeiladu ty, granari, stabl, &c.

(4.) *Robert Nelson, Birtle.*—(Trefgordd 17, range 25, Shoal Lake), ar ol trigo am 3 blynedd, y mae wedi tori 120 o aceri o'r 320 sydd yn ei feddiant; cododd dŷ, granari, stablau, &c.

(5.) *Johnson Rutherford, Silver Creek* (Trefgordd 20, Sir Russell), wedi bod yno er's 2 flynedd; cymerodd gartref rhad a rhag-bryniad; wedi tori 55 o aceri, codi ty, dwy stabl, dwy *shed* a granari.

(6.) *R. B. Kirchhoffer,* 26, 7, 21, *Brandon.*—Yma er's tri mis ar ddeg; wedi cymeryd 1920 o aceri gan gynwys cartref rhad; wedi codi dau dŷ, dwy ystabl, ac adeiladau eang eraill.

(7.) *W. D. Ruttan, Ruttanville.*—Wedi bod 4 blynedd yn y wlad, wedi codi ty a stabl, a trin 140 o dir o'r 320 sydd yn ei feddiant.

(8.) *S. W. Chambers, Birtle.*—(tp. 16, range 27), yn ystod 4 blynedd ei drigiad, wedi trin 150 o aceri o'r 320 sydd ganddo; hefyd wedi codi ty, stabl, granari, ac ysgubor.

(9.) *W. McKitrick, Crystal City, Rock Lake*—Wedi trin 73 o aceri o'r 320 sydd ganddo; wedi codi ystabl a granari—tair blynedd yn y wlad.

(10.) *Geo. C. Wildl, Sir Morris.*—Yn ystod 9 mlynedd ei drigiad yn y wlad, wedi sicrhau iddo ei hun 960 o aceri o dir, o'r cyfryw y mae 200 acer wedi ei drin; wedi codi ty, ysgubor—y diweddaf yn mesur 48 wrth 48.

(11.) *Noah Burtley, Sir Birtle, Shoal Lake.*—Wedi bod yma er's 3 blynedd; wedi tori 110 o aceri o'r 320 sydd yn ei feddiant; wedi codi ty, stabl, a granari.

(12.) *J. A. Brondgeest,* 4, 3, 21, *pentref Wanbeesh.*—Yno er's 3 blynedd; wedi cymeryd cartref rhad gyda 900 o aceri o dir Syndicate—yr oll yn 1280. O'r cyfryw y mae 200 acer wedi ei drin; wedi codi ty 36 wrth 20; granari 16 wrth 20; dwy stabl, 25 wrth 50; cytiau moch, ty gwreiddiau, melin gyda 30 nerth march, gefail, llythyrdy, ac amryw adeiladau eraill.

(13.) *Alex. Naismith, Milford, sir Cypress.*—Yno er's 3 blynedd. O'r 320 aceri o dir, wedi trin 100 at grop; wedi codi ty *'log,* granari, ac ystablau, ac adeiladau eraill.

(14) *W. J. Brown, Promery, North Dufferin.*—Wedi tori 130 o aceri o'r 500 sydd ganddo; wedi codi ty *log,* granari, a stablau. Yn y wlad er's 5 mlynedd, gyda'r tri mab. Y mae gan yr oll gartrefi rhad, ac y mae yr oll yn ddedwydd a diangen.

(15) *Alex. Adams,* 17, 7, 7.—Wedi bod yn Manitoba er's 9 mlynedd. Y mae ganddo 400 o aceri; wedi trin 100, codi ty, stabl, granari, &c.

(16.) *Donald Shaw, Preston, Roch Lake.*—Yn y wlad er's 5 mlynedd; wedi byw 15 mlynedd yn y gorllewin, yn meddu ar 640 o aceri; wedi trin 100 acer, wedi codi ty, stabl, a buarthau.

(17.) *James O. Fraser, Oak River.*—Wedi symud yma o High Bluff ddwy flynedd yn ol; wedi cymeryd 300 acer o dir, codi ty, granari, ystablau, a thrin 60 acer o dir.

(18.) *W. D. Reesor, o adran 32, range 2, trefgordd* 11.—Wedi bod yn y wlad er's dwy flynedd; yn meddu 960 o aceri o dir, wedi tori 290. Wedi codi pump o dai, granari, ac ystabl wellt.

(19.) *James McGhee, Blake Post Office, Westbourne.*—Wedi trin 30 o aceri yn y ddwy flynedd ddiweddaf allan o'r 320 sydd ganddo, ac adeiladu 6 o adeiladau.

(20.) *John Mooney, Milford (adran 20, trefgordd 7, range 16, Sir Cypress).*—Daeth yma 3 blynedd yn ol; cymerodd 320 o aceri; torodd 70 o aceri, cododd dŷ, ysgubor, ac ystabl i 20 o wartheg.

(21.) *Geo. W. Playfair, Warden, Argyl, yr hwn sydd trigo yn nhrefgordd 5, range 18, Sir Rock Lake.*—Y mae ganddo 8000 o aceri, o'r cyfryw y mae 800 o dan driniaeth. Cododd 30 o dai, a'r un nifer o dai allan. Tybia nad ydyw hyn yn llafur bychan mewn 3 blynedd o amser.

(22.) *Kenneth McKensie, Burnside, Sir Portage-la-Prairie.*—Efe oedd y sefydlwr cyntaf i'r gorllewin o dref bresenol Portage-la-Prairie. Prynodd amrai filoedd o aceri o dir gan y trigolion gwreiddiol. Y mae 600 o'r cyfryw o dan driniaeth. Codwyd hefyd dai, granari, ysguboriau, &c.

(23.) *Joseph Lawrence, Clearwater.*—Yma er's 4 blynedd; wedi cymeryd cartref rhad a rhag-bryniad; wedi tori 90 acer, codi ty, beudai 50 wrth 40, granari 25 wrth 25, llaethdy 12 wrth 18, ac wedi cledru â gwifrau *(to fence)* 60 acer.

(24.) W. *Thompson, Maimi* 5, 5, 6.—Yma er's 7 mlynedd; yn dal 600 acer o dir; wedi trin 130 acer. Y mae ganddo stabl 100 wrth 26, granari 52 wrth 26, ty 20 wrth 36, beudy 20 wrth 24, peiriandy 18 wrth 24, mal-dy 16 wrth 16, ieirdy 12 wrth 26, llaethdy a phobty 13 wrth 28.

(25.) *R. H. Cole, Lintrathen.*—Dwy flynedd er pan yn y wlad, yn dal 960 o aceri o dir, wedi trin 80 acer, codi ty, granari, ac ystablau i 40 pen o anifeiliaid.

(26.) *S. F. Hampton, Rapid City, Minnedosa.*—Pedair blynedd er yn y wlad; o'r 320 aceri o dir yn ei feddiant wedi trin 85 o aceri; wedi codi ty, ysgubor, ystorws, ac ystablau.

# PENNOD IX.

## ADRODDIADAU YCHWANEGOL SEFYDLWYR.

G.—*A ellwch chwi roddi i mi yn ychwanegol, nifer o dystiolaethau credadwy ymsefydlwyr gweithredol yn Manitoba. Hoffwn wybod yn helaethach eu profiadau, a pha gynghorion sydd ganddynt i'w rhoddi—seiliedig ar brofiad—i eraill sydd i fod yn y man yn gydwladwyr a hwy?*

A.—Yn ffodus, y mae genyf gyflawnder o'r cyfryw dystiolaethau wrth law, wedi eu harwydd-nodi gan y sefydlwyr eu hunain. Gallwn lanw cyfrol o honynt, eithr dyma i chwi ychydig o ddifyniadau:—

"Meadow Lea.

1. "Brodor wyf fi o Ontario Orllewinol; bum yn ffermio am 15 mlynedd. Hon yw y 5ed flwyddyn i mi yma: gwell genyf y wlad hon na'r un wlad arall.

"James Stewart."

"Three Creeks,
"Portage-la-Prairie.

2. "Yr amser priodol i hau gwenith, ceirch, a pys, ydyw o ddechreu Ebrill hyd ganol Mai; haidd o ganol Mai hyd ddechreu Mehefin. Y mae y tywydd yn nhymor hau a medi fel rheol yn sych. Amser cynhauaf ydyw o ganol Awst hyd Fedi.

"Jno. McKinnon."

"High Bluff.

3. "Yn ol fy marn i mis Medi ydyw yr addasaf i sefydlwyr ddod yma, ac ni ddylent ar un cyfrif ddod yma yn gynarach na Mai. Bydded iddynt ddwyn meirch canol-faint, cydnerth, o raen clôs, gyda hwy. Yr wyf wedi bod yma am 8 mlynedd, a gwn pa bethau sydd yn angenrheidiol yn lled dda. "Nelson Brown."

"High Bluff.

4. "Ychwanegaf yn unig nad oes yma chwyn atgas. Pan y bo maes yn aeddfed i'r cryman, fel rheol, ni welir dim ynddo ond y grawn. Tyf llin yn gampus yn y wlad hon. Credaf y gellir ei dyfu gyda *phroffit*. Gwelais ef yn tyfu yn llawn mor uchel ag yn yr Iwerddon. Tyf pob math o wyrdd-lysiau yn gampus, a hyny heb nemawr o lafur na dim tail. "Matthew Owen, U.H."

"Clear Springs.

5. "Dylid aredig y tir yn nhymor yr Hydref, a'i hau mor gynar ag y gellir yn y gwanwyn. O'r 10fed i'r 15fed o Ebrill y mae tymor hau; medi o'r 10fed o Awst hyd y 15fed o Fedi. Tyf y Mennonites [y Rwsiaid] yr oll o'u myglus *(tobacco)* eu hunain, saif yn llawn 4 troedfedd o uchder. "John W. Carlton."

"Greenwood.

6. "Y mae mis Mai fel rheol yn braf; Mehefin yn wlyb; Awst a Medi yn hin hyfryd. Dylid hau hadau pob math o blanhigion yn gynar—can gynted ag y bydd y tir yn gymwys i hyny; bydd y cyfan yn gymwys i'w casglu oddeutu canol Hydref. Ond tori tir brysgwydd yn y gwanwyn, efe a ildia gnwd da o geirch a phytatw yr un tymor. "James Sinclair."

"Clear Springs.

7. "Yr wyf wedi bod yn y wlad am 6 blynedd, a chefais mai yr haf sychaf sydd yn rhoddi y cnydau goreu—ie, pan na bo dim gwlaw wedi disgyn namyn ambell gawod o wlaw taranau. Yn Mai y dylai sefydlwyr newydd ddod yma, a thori eu tir hyd Gorphenaf, yna casglu a chrynhoi toraeth digonol o wair i'r anifeiliaid; wedi hyny gallant ddarparu eu hadeiladau ar gyfer y gauaf. "Henry West."

"Assiniboine.

8. "Y pytatw a godir yma ydyw y rhai brafiaf a welais i erioed. Deuddeng mis y sydd er pan wyf yn y wlad, ond yr wyf yn hollol foddhaol arni. Tyf pob math o wreiddiau yma yn well ac yn fwy nag yn Ontario. "W. Start."

Poplar Point.

9. "Dechreuais i gydag un fuwch, un ceffyl, a gwŷdd, 18 mlynedd yn ol; heddyw y mae fy nhrethi yn 13,000 o ddoleri. Ni fethodd yr un crop eto o'm ffermwriaeth yma, a rhaid i mi dystio mai crop eleni ydyw y trymaf a godais erioed. Gellwch ddibynu arnaf am gywirdeb fy nhystiolaeth. "Benjamin Bruce."

"St. Anne, Point DuChene.

10. "Ni welais dir erioed rhagorach at godi *stock*, oblegid fod yma y fath gyflawnder diderfyn o wair; gall godi cymaint o *stock* ag a ewyllysio efe dori o laswellt ar eu cyfer. "David Chalmers."

"Burnside.

11. "Tyf rhyg yma yn gampus. Bum yn Lloegr, Ysgotland, Unol Dalaethau, ac Ontario; ond y mae y wlad hon yn eu curo o ddigon am bytatw mawrion. "Robert Bell."

"High Bluff.

12. "Buaswn yn awgrymu i'r rhai sydd ar fedr sefydlu yn y Gogledd-orllewin, y rhai a ddeuant i drigo ar dir y *prairie*, mai doeth ynddynt fyddai tori acer neu ddwy o dir o amgylch y fan y bwriadant adeiladu i'r Gorllewin, Gogledd, a'r Dwyrain, a'u planu â hadau masarn. Planer yn rhesi 4 troedfedd oddiwrth eu gilydd; yr hadau droedfedd y naill oddiwrth y llall. Gellir eu teneuo wedi hyny ..............Ar ol trigo yma am 9 mlynedd, yr wyf yn cael fod y tir yn rhagorol at gynyrchu pob math o rawn a heuir gan amaethwyr. Y mae prisiau y farchnad hefyd yn bur dda. Gwenith 85 cent i 115 dolar, ceirch 50 cent i 60 cent, haidd 60 cent. "James Stewart."

"Meadow Lea.

13. "Pryner ceffylau Canada, gwartheg a bustych; hefyd pryner lloi ieuainc. Drwy wneyd hyn, dyblir eu harian yn flynyddol. Yr wyf fi yn y busnes, a gwn hyn oddiar brofiad. "James McEwen."

"Headingly.

14. "Disgwyliwn gael crop cyfoethog o'r ardd eleni, er mai yn Mai a Mehefin yr hauasom. Ebrill yw yr amser priodol, eto y mae pobpeth yn dyfod ymlaen yn gampus. Tyf *cucumbers* yn yr awyr agored. Disgwyliwn gael cyflawnder o *melons* a *tomatoes* ddiwedd y mis hwn, neu ddechreu y nesaf. Ceir cropiau mawrion o fefus a mafonau gwylltion, a llawer math o ffrwythau eraill. "Andrew Dawson."

Portage-la-Prairie.

15. "Ni ddylai sefydlwyr ddwyn y gwŷdd *handle* hir Canadaidd gyda hwy am nad yw yn gweithio yn dda yma. Na ddyger ychwaith wageni gydag echelau haiarn trymion. Dyger brid da o gatel, defaid a moch—dyna y pethau goreu i'w dwyn yma. "Chas. Logan."

"Redgeville.

16. Buaswn yn anog sefydlwyr i gymeryd ychain i dori y tir. Y mae ceffylau yn costio mwy i'w cadw, am fod yn rhaid iddynt wrth rawn. Gellir gweithio ychain a'u porthi â glaswellt. Yr wyf fi yn fwy yn y *stock line*, a gallaf sicrhau fod y wlad yn nodedig o gyfaddas at fagu *stock*. Nis gall y borfa fod yn rhagorach. Cyflawnder o wair am ei dori, a chydag ychydig ofal gellir gaeafu anifeiliaid yn rhwydd. "D. F. Knight."

"Stonewall.

17. "Cynghoraf unrhyw ddyn ifanc, gyda chalon wrol ac ychydig dros 60p. yn ei logell i ddod i'r wlad hon; bydd yn annibynol ei amgylchiadau, os ymegnïa, mewn 5 mlynedd. "Joshua Appleyard."

"Emerson.

18. Codi gwenith y byddaf fi; anaml y byddaf yn gwneyd dim â grawn arall. Y tymor presenol, dechreuais hau ar y 10fed o Ebrill, methais a gorphen hyd y 5ed o Fai, oblegid ansawdd y tymor. Erbyn hyny, yr oedd genyf 80 acer o dan wenith. Dechreuais y cynhauaf ar y 9fed o Awst; disgwyliaf ar gyfartaledd gnwd o 30 bwsiel, a gwell sampl na dim a gynyrchwyd er 1873. Torais 100 acer yn ychwaneg eleni. Os am lwyddiant gyda'r cnwd, rhaid wrth sylw cynar a dyladwy i'r aredig yn nhymor yr Hydref. Yr wyf mor foddhaus o'm profiad mewn ffermwriaeth yma, fel y mae yn fy mryd i agor i fyny ddwy fferm arall y tymor dyfodol. "F. T. Bradley."

"Greenridge.

19. "Dygwch eich egni a'ch cyfalaf gyda chwi; gadewch eich rhagfarn ar eich ol. Peidiwch a dwyn gormod o glud *(baggage)*. Prynwch eich arfau tir ar ol dod yma, y maent yn llawn mor rhad ac yn fwy cyfaddas i'r wlad. Gofelwch am sicrhau lleoliad sych i'ch fferm. Torwch eich tir yn y tymor gwlawog (Mehefin), y mae yn hawdd ei aredig y pryd hwnw, ac fe bydra yn rhwydd. Hauwch wenith, ceirch, a phytatw. Nid yw haidd yn dygymod yn dda â thir newydd. Cymerwch gynghor gan hen sefydlwyr. "Isaac Casson."

"Poplar Point,
"Long Lake.

20. "Credaf yn wir nas gall dyn gael gwell gwlad amaethyddol na hon. Mi ddywedaf i chwi, syr, codais i *grop* ar 5 acer o dir ar fy fferm am 6 blynedd yn olynol heb orphwys, ac ni welais yn fy mywyd well cnwd nag eleni. Dyna i chwi ddaear. Credaf y bydd dyfudwyr yn foddlawn ar y wlad hon pan y deuant yma. Nis gellwch ddweyd gormod yn ei ffafr. Dymunaf i bawb a ddaw y ffordd hyn rwydd hynt. Yr oll a ddywedaf ydyw, deuwch frodyr amaethyddol, deuwch i'n cynorthwyo i aredig y gwastattir anferth hwn. Gellwch godi y peth a fynoch yn mron yn y wlad hon. "Geo. Taylor."

Cook's Creek.

21. "Yr wyf wedi rhedeg peiriant dyrnu yma y pump neu y chwe' blynedd diweddaf; cyfartaledd y gwenith ydyw, o 25 i 30 bwsiel, ceirch 40 i 60 bwsiel, haidd 30 i 50. "Jabez Geo. Bent."

"Birds Hill.

22. "Nid oes fawr o lun arnaf gyda'r ysgrifbin, am hyny esgusodwch fi, ond dywedwch wrthynt am brynu ychain a myned ati hi gydag ewyllys.
"Robert Black."

"Springhill.

23. "Yn gymaint ag na chefais ond 2 flynedd o amser yma, nis gallaf wneyd cyfiawnder â'r wlad fel yr hoffwn wneyd, oblegid credaf ei bod yn wlad dda. Bum 9 mlynedd yn Ontario, ac yn yr Iwerddon hyd nes y daethym yn ddyn, ond a chymeryd pobpeth i ystyriaeth, gwell genyf y wlad hon na'r un o honynt. Y mae y tri crop a welais i yn fy ngalluogi i gredu y gwna unrhyw ddyn a lafuria yn y wlad hon ei hoffi, oblegid fe gaiff rhywbeth yma am ei lafur a'i drafferth.
"Edward J. Johnson."

"Stonewall.

24 "Bydded i'r bobl nad oes gaddynt ffermydd o'r eiddynt eu hunain ddod yma i ffermio. Na ddygwch geffylau gyda chwi; ychain ydyw yr anifeiliaid i sefydlwr newydd. "James Airth."

"Victoria.

25 "Nis gall amaethydd gamgymeryd wrth ddod yma.

"Neil McLeod."

"Portage-la-Prairie,

26 "Nid wyf yn cofio erioed gweled yr un cnwd yn methu, oddieithr pan y difawyd ef gan y ceiliogod rhedyn, ac ni ddigwyddodd hyny ond dwywaith yn fy oes —yr wyf yn awr yn haner cant. Erioed ni chymerais sylw o faint y gwyrdd-lysiau hyd nes y dechreuodd dieithriaid ddod i'r wlad. Arferent hwy ag edmygu y *crops*. Yna dechreuais inau feddwl y gallasai ein gwlad ni ddal ei thir gydag unrhyw wlad arall—ie, a'u curo oll hefyd o ran hyny, ynte? Pe y braenerid ein tir ni, fel y rhoddir ar ddeall i mi y gwneir mewn gwledydd eraill, tyfai y cropiau i'r fath nerth a maint fel na byddai iddynt byth aeddfedu i berffeithrwydd.

"Robert Sutherland."

"High Bluff.

27 "Yr wyf yn ystyried y wlad hon fel gardd y Rhaglawiaeth, ac i bob golwg, nid yn unig gardd rhaglawiaeth, eithr hefyd gardd Prydain Fawr. Yr wyf wedi tyfu llin yma er's blynyddau, ac ni welais ei ragorach erioed. Tyfais *timothy* am 8 mlynedd, a chefais o 2 i 3 tunell yr acer o hono. "Thos. Dalzell."

Headingly.

28 "Y mae yn 9 mlynedd er pan wyf yma, ac ni bydd i mi ddychwelyd yn ol i Ontario nag unrhyw ran o Canada i geisio bywioliaeth. Yr wyf wedi llwyddo yn well yma, a hyny ar lai o lafur a thrafferth nag y gallaswn yn unman arall. Y mae y priddyn yma yn dda, yr hinsawdd yn rhagorol, a phob peth mewn sefyllfa lewyrchus. "James F. Vidal."

"Scratching River.

29 "Y mae pob dyn sydd ganddo deulu o fechgyn fel myfi, os yn bwriadu byw ar ffermyddiaeth a dwyn ei feibion i fyny yn ffermwyr, yn afradloni ei amser mewn lleoedd eraill, pan y gall ar gyfartaledd enill mwy o gant y cant yma ar ei lafur fel y gwnaethum i. Bum i yn ffermio yn Ewrop, Talaeth New York, ac Ontario, a gallaf sefyll wrth gefn y dystiolaeth uchod. "Thos. E. Ellison."

"Springfield.

30 "Anogaf y rhai sydd ar sefydlu yma i roddi prawf ar godi anifeiliaid, defaid yn fwyaf neillduol. "Samuel J. Parsons."

"Nelsonville.

31 "Gwelais gnydau go dda yn cael eu codi drwy aredig yn gynar yn y gwanwyn a hau ceirch; ond trwy aredig ar draws 2 fodfedd o ddyfnder yn Mehefin, a'i droi yn ol yn nhymor yr Hydref, ydyw y cynllun goreu ar gyfer y gwanwyn.

"Edwin Burnell."

"St. Agathe."

32 "Yr wyf am gynghori dyfudwyr i ddwyn gyda hwy gymaint fyth ac a allant o arian. Gallant siwtio eu hunain yn well yma wrth brynu, a chânt bobpeth yn llawn mor rhadlawn; heblaw hyny, gallant wneyd ar yr hyn a wasanaetha ei angenrhaid ar y pryd, a dim yn ychwaneg. "Geo. Ferris."

"Emerson.

33 "Tyf *timothy*, *Dutch* gwyn a chlofer *Alsike* yma yn dda. Yr wyf newydd dori cnwd saith acer o dir. Yr oedd y cynyrch yn ol y cyfartaledd o 2 dunell a haner yr acer. Y mae genyf 30 o aceri wedi eu hau ar gyfer y flwyddyn nesaf.

"James Bedford."

"Nelsonville.

34 "Po hwyaf y triga dyn yn y wlad hon, goreu oll y bydd iddo ei hoffi hi.

"Julius F. Galbraith."

"High Bluff.

35 "Yn awr, gan fod y ffordd haiarn genym, yr ydym yn alluog i sefyll cymhariaeth ag unrhyw ran o'r Rhaglawiaeth, a chymeryd y blaen mewn *roots*, ac nid oes arnaf ofn herio yr holl Dalaethau Unedig (America) am samplau o rawn o bob math. Y mae ganddynt y blaen arnom mewn ffrwythau, ond yr ydym ninau yn

dod yn gyflym ar eu holau. Os llafuria dynion am bedwar mis yn y flwyddyn, gallant ymgodi i sefyllfa o annibyniaeth o ran eu hamgylchiadau yn y wlad hon. Daethym i yma yn 1873 gyda swm mor fach a 30 dolar yn fy llogell, ac yr oedd yn rhaid i mi dalu 10 o'r cyfryw am fy fferm *(homestead)* o 160 o aceri. Y mae yn myned ar ddwy flynedd er pan yr wyf wedi dechreu trin y tir, ar yr hwn yr wyf yn byw, ac y mae genyf yn awr 74 acer wedi ei arloesi, gyda thy cysurus ac adeiladau eraill. Gallaf gael 3000 o ddoleri am un o'm *quarter sections* pan y mynwyf. Gellir fy nghael yn High Bluff unrhyw ddiwrnod gyda 50 dolar yn fy mhoced i sefyll wrth gefn fy ngeiriau. "Jno. A. Lee."

"Portage-la-Prairie,

36 "Y mae fy nhir i yn gorwedd ar lanau yr Assiniboine, am hyny yr ydym yn mwynhau tramwyfa agerol uniongyrth a Winnipeg. Nid yw y tir yn wastad, eithr yn donog; nid oes eisiau ei gloddio, eto y mae yn cael ei ddyfrhau gan ddwfr rhedegog y ffynonau. Edrych yr holl gnydau yn rhagorol. Plenais bytatw ar y cyntaf o Mehefin, ac ymhen yr 8 wythnos yr oeddym yn ymborthi ar ein pryd cyntaf o honynt. Disgwyliaf gael ar draws 300 bwsiel yr acer. Y mae yr hinsawdd yn bobpeth i'w ddymuno. I unrhyw ddyn sydd yn ewyllysio gwneyd cartref iddo ei hun, dylai ar bob cyfrif geisio lleoli ei hun yn y wlad hon, ac os yn ddyn o egni, nid hir y bydd cyn gwneyd cartref llawn a dedwydd iddo ei hun a'i deulu. Diwrnod ffodus oedd hwnw pan y sengais ddaear Manitoba.
"Geo. C. Hall."

"St. Anne, Pt-du-Chêne.

37 "Y mae yma fanteision rhagorol i sefydlwyr; digonedd o wair a phorfa. Gellir codi nifer y *stock* heb gyffwrdd â'r grawn. Digonedd o ddwfr a choed.
"John Hall."

"Morris.

38 "Credwn nas gellir curo y wlad hon fel gwlad amaethyddol; gall amaethwyr godi pobpeth fydd yn eisiau arnynt, heb gostio dim iddynt, am y gellir tori yr holl wair angenrheidiol ar y *prairie* ar gyfer porthiant yr holl anifeiliaid. Ymfrasa y gwartheg ar y cyfryw ond eu dwfrhau hwy yn dda, a gofalu am danynt.
"James Lawrie a'i Frodyr."

☞ Ni waeth i mi heb nag ychwanegu adroddiadau, y mae tôn yr oll yn gyffelyb i'r rhai blaenorol. Rhoddasom enwau a chyfeiriadau y bobl sydd yn barod i ddwyn tystiolaeth i fawr amryw ragoriaethau a berthyn i'r wlad. Y mae hyn yn gredyd iddynt hwy, ac yn glod i'r tir, am yr hwn y gallant, heb lygru cydwybod, siarad mor ffafriol.

I ba le bynag yr eir yn y wlad hon, ceir y sefydlwyr yn llwyddianus, diwyd, a hollol foddlawn, yn mwynhau manteision addoliad eglwysig, addysg dda, cyfleusderau y Llythyrdy, a breiniau eraill perthynol i wareiddiad.

Hyd yma, y mae marchnad gartrefol dda i bob rhyw nwyddau; diau y pery felly am ryw enyd, tra y parhao dyfudiaeth i'r wlad a bywyd gyda'r adeiladau cyhoeddus; crëa hyn fwy nag arferol o alwadau am gynyrchion llafur.

Ond yn ychwanegol at hyn, fe ddwg y ffyrdd haiarn a agorir ymhob rhan o'r wlad fanteision newyddion i drafnidiaeth, fel rhwng galwadau y farchnad gartrefol a thramor y gall amaethwyr Gogledd-orllewin Canada edrych ymlaen at flynyddoedd o lwyddiant, yn gymaint a bod ganddynt ddaear gyfoethog, fras, a dwylaw ewyllysgar i'w thrin a'i llafurio.

Nis gallaf orphen y sylwadau hyn ar wlad sydd wedi ei harfaethu i fod yn gartref dedwydd a llwyddianus pobl lawer, heb ddifynu geiriau a lefarwyd gan Weinidog Cyllidol Canada, yn ei araith ar y Gyllideb y flwyddyn ddiweddaf. Ebe efe:—
............"Yr wyf yn cydnabod, ac ystyriaeth ydyw nas gall y Senedd hon ei hanwybyddu heb niweidio y wlad, mai dymunol ydyw rhoddi i drigolion yr hen fyd yn ogystal a phobl ein Rhaglawiaeth ni ein hunain, gartrefi rhad yn yr eang Ogledd-orllewin. Gallem sylweddoli mewn ychydig flynyddau, pe eu dodid i fyny mewn arwerthiant cyhoeddus, nid yn unig yr arian sydd wedi eu treulio hyd yma, ond yr arian a dreulir hyd orpheniad y ffordd haiarn. Eithr fe ddaw yn y dyfodol, lleiheir ein dyled gyhoeddus, gostyngir ein llogau, a byddwn ninau yn y sefyllfa anrhydeddus o allu cynyg i ddynion gonest, diwyd, diwaith yr hen fyd, gartref yma

gyda thiroedd rhad—cânt wlad wedi ei gwneyd yn un rwydfa o'r ffyrdd haiarn a dyfrol rhagoraf yn yr holl fyd—gwlad gyda sefydliadau a fyddant yn amddiffyn i'w bywydau, eu meddianau, eu hawliau—gwlad a fydd yn noddfa i feibion caethiwed ac ol trais ar eu cyrff, os ceir y cyfryw yn unrhyw ran o'r hen fyd. Fe fydd i ni agor ein breichiau i'w derbyn oll a'u croesawu, a gwneud Rhaglawiaeth Canada, fel y sylwais ar ddiwedd fy araith ar achlysur blaenorol, yr hyn y bwriadwyd iddi fod gan Ragluniaeth—yn un o'r gwledydd mwyaf a chyfoethocaf ar y ddaear."

G.—*Pa faint a amser a ddywedasoch a gymer i mi i fyned i'r wlad dda odiaeth—Canada, cartref dyfodol plant angen Cymru, Ewrop, ac Asia?*

A.—O bymtheg i ugain o ddyddiau, a dyna eich traed yn hoew ac ysgafn gerdded eich daear eich hun. Y mae y Llywodraeth yn cynorthwyo ymfudwyr, drwy ganiatau iddynt gludiad isel; ceir pob hysbysrwydd am fanylion y wybodaeth angenrheidiol ond ymholi gyda

**W. J. WILLIAMS,**

7, Market Street, CARNARVON.

# PENNOD X.

## LLYTHYRAU ODDIWRTH GYMRY O ARFON.

G.—*A oes Cymry wedi sefydlu yn Manitoba? Hoffwn wybod pa beth sydd ganddynt hwy i'w ddweyd am y wlad a'r hinsawdd.*

A.—Oes; dyma i chwi ddau Lythyr a ddaeth i law pan yn argraffu y ddalen olaf o'r llyfr hwn.

### LLYTHYR I.

Brandon Hills,
Manitoba, Canada,
Mehefin 30ain, 1883.

**At Mr. W. J. Williams, 7, Market Street, Caernarfon.**

Syr,—Y mae cais wedi ei wneyd ataf ar i mi anfon gair i chwi beth ydwyf yn ei feddwl o'r wlad hon, yr hyn beth nad yw yn ddymunol genyf, gan nad ydwyf am fod yn achlysur i neb i fod yn meddwl yn galed tuag ataf. Yr wyf yma ers dros 4 blynedd. Mae hon, fel pob gwlad arall, yn meddu ar ei manteision a'i hanfanteision; pob man y bum i erioed, fe fyddai yno rhywbeth yn annymunol; felly yma. Mae yma diroedd rhagorol, nad oes mo'u gwell yn un man, a hwnw gan brydferthed ei wyneb a Dyffryn Clwyd, ond ei fod yn fwy anhawdd ei droi am y waith gyntaf, ond wedi hyny y mae yn hawdd. Hefyd, y mae yn wlad iach odiaeth. Fel gwlad newydd, nid ydwyf yn gwybod am fan i'w chydmaru â hi. Ni chlywais am glefyd na haint yma. Ac fel mewn lleoedd newyddion bob amser, mae pobl yn gorfod myned trwy lawer o bethau yma, megis dyfroedd a chysgu allan; ond nid yw yn effeithio yn ddrwg arnynt. Yr ydwyf yn gwybod, pe buaswn i yn gorfod gwneyd llawer o bethau yn Nghymru y bu raid i mi fyned trwyddynt yma y blynyddoedd cyntaf, na fuaswn yn dal heb golli fy iechyd.

Wel, y peth sydd yn blino fwyaf arnom ydyw yr hinsawdd. Y mae yn un hynod. Y mae yma dywydd rhagorol yn yr haf, ond ei fod yn fyr iawn. Mae yma dymhor lled hir o auaf; mae yn dywydd oer iawn, yn rhewi yn bur galed. Mae yn ofynol i un lapio ei hun i fynu yn lled ofalus, neu fe fydd yn debyg o rewi wrth fyned allan. Mae yn ofynol cael mwy nag un pâr o fenyg (?) i weithio yma. Ond y mae yn sych, yna nid ydyw mor annioddefol, a'r awyr yn ysgafn. Fe fyddwn yn myned allan bob dydd; am a wn i na fydd dynion yn myned allan hefo eu gweddoedd drwy y gauaf. Gallaf ddywedyd fy mod wedi bod allan yn

myned a llwyth i'r farchnad y diwrnodau oeraf; pan yn clywed fy wyneb yn rhewi, yna ei rwbio fy ngoreu.

Os bydd i chwi gymeryd tir, mae yn debyg y bydd i chwi gymeryd darn o dir ar eich pen eich hunan, yna mi fydd yn eich rhoddi o'r neilldu, a bydd yn ofynol i ryw allu i fod er mwyn cario pethau yn mlaen, sef cadw Shop. Os am sefydliad Cymreig, Cymry yn y *business* fel yn y fferm, a pheidio gadael i estroniaid gael hufen ein llafur,—ceisier cadw y cyfan i'r Cymry. Mae eisieu ychydig o arian i ddechreu ffermio yma.

Cofiwch fi at Mr. Wm. J. Parry, Bethesda, a dywedwch mai dyma lle stopiais ar ol ymadael âg ef yn Halifax, ac mai caled o waith ydyw i hen lanc i ffermio.

Ydwyf, gan ddymuno i chwi bob llwyddiant yn eich anturiaeth. Fe wna chwarelwyr eithaf ffermwyr yma.

OWEN J. JONES, gynt Ebenezer, ger Caernarfon.

## LLYTHYR II.

Brandon Hills,
Manitoba, Canada,
Gorphenaf 2il, 1883.

Anwyl Syr,—Rai dyddiau yn ol, hysbyswyd fi gan un o Oruchwylwyr Ymfudol Canada, fod ymfudiaeth mawr i gymeryd lle o Ogledd Cymru; a gofynai i mi anfon gair o hanes y wlad i chwi, er mwyn iddi fod yn fwy manteisiol i'r ymfudwyr farnu pa le ydyw y lle goreu i ymfudo iddo.

I.—Nid peth hawdd ydyw gwybod beth i'w ysgrifenu na pheth i ymatal. O bosibl mai hinsawdd Manitoba sydd yn pwyso fwyaf ar feddwl yr ymfudwr. Gan fod yr ysgrifenydd wedi gweled Haf a Gauaf y pedair blynedd diweddaf yn Manitoba, af at y gorchwyl o geisio rhoddi desgrifiad o'r cyfryw.

Ni fyddwn yn disgwyl gweled gwyneb y ddaear heb fod yn orchuddiedig âg eira nes y bydd o'r 15fed i'r 20fed o Ebrill bob blwyddyn. Yn gyffredin, ni fydd yr eira yn fwy na 15 i 20 modfedd o drwch. Pan ddechreua ddadmer, bydd i ffwrdd mewn ychydig o ddyddiau. Fel rheol, bydd y gwynt yn uchel tuag adeg y dadmeriad, a'r awyr gan amlaf yn ddigwmwl, a pharha felly dan tua diwedd Mai, nes ei gwneyd yr oll a ddymunir gan yr amaethwr. Ond weithiau teimla yn awyddus i lefain am ddiwrnod o dywydd yr hen wlad, sef môr o wlaw, er mwyn iddo ef a'i geffylau gael gorphwyso.

Yn mis Mehefin, cawn y gwlaw taranau o'r math trymaf, nes rhoddi rhyw dwf o'r fath gyflymaf yn mhobpeth. Anfynych y ceir gwlaw heb fellt goleu, yn cael eu dilyn gan daranau trystfawr. Y mae mis Gorphenaf yn un pur boeth—llawer poethach nag yn Nghymru; ond y mae yn oeri yn dda at y nos. Y mae misoedd Awst a Medi yn bur boeth y dydd, ond yn oeri yn arw at y nos; ac y maent yr oll a ddymunir i gasglu y cynhauaf. Anaml y gwlawia yn y misoedd hyn, a mwynheir pelydrau yr haul o awyr ddigwmwl, nes gwneyd y cynhauaf yn hynod o ddidrafferth ragor yr hyn ydyw yn Nghymru. Y mae Hydref, a rhan helaeth o Tachwedd yn dywydd braf, ond yn dechreu rhewi at y nos. Rhan olaf o Tachwedd yn gyffredin, fe ddisgyn ychydig eira; weithiau fe'i dadmerir, bryd arall erys dan y gwanwyn.

II.—Wel [illegible]awr, yr ydym yn nesu at y Gauaf,—y Gauaf ydyw bwgan mawr Manitoba. Y mae Rhagfyr, Ionawr, a Chwefror yn fisoedd oerion yma, ac yn rhy aml yn mhell o fod yn gysurus. Y mae yn dywydd oer, gwastad, bob dydd. Gwir yw fod y *glass* yn is ambell ddiwrnod na'i gilydd. Ond drwy ei bod mor sych, nid ydyw yn cael y fath effaith a phe bai yr hin yn damplyd a chyfnewidiol. Trwy gael tŷ cysurus, a dillad pwrpasol, gellir mwynhau cymaint o gysur yma ag yn unrhyw wlad arall, gan ei bod mor hynod iach. Mewn gwledydd poethion, fe flinir y trigolion i raddau mawr gan dwymynau. I ddyweyd ein profiad, byddwn yn teimlo yn iachach y gauaf nag un adeg ar y flwyddyn. Y mae mis Mawrth yn bur oer, ond yn fwy gwyntog, a chymer bleser mawr i luwchio eira i'n ffyrdd, a'u gwneyd yn llawer mwy anhawdd i'w trafaelio.

III.—Byddwn allan braidd drwy y gauaf, yn cario ein hydau i'r farchnad, neu goed, neu wneyd rhywbeth. *Ni fyddwn yn colli agos gymaint o amser hefo'r oerni ag a gollir genych chwi hefo'r gwlaw.* Fe ddywed y Canadians fod yn well ganddynt auaf Manitoba nag un Ontario, am nad yw mor gyfnewidiol. Gair eto ar y tir a'r cnydau, ac yna ni derfynwn.

IV.—Mae tir Manitoba uwchlaw disgwyliadau y goreu o honoch, ac yn hawdd

i'w ddiwyllio, gan ei fod yn lan a gwastad ac weithiau yn rowlio dim *breakage* fel y mae llawer yn meddwl. Geill pâr o geffylau da aredig tua dwy erw y dydd ar ol gwlaw, pan fydd y ddaear yn ystwyth. A bydd parau o ychain yn tori tua erw y dydd. Nid oes yma ddim ceryg i rwystro myn'd yn ei flaen ar lawn gerdded. Y mae yma o 20 modfedd i lathen o bridd du, a chlai o dan hwnw, er y gellir cael tywod mewn rhai manau; 'does ar yr amaethwr Cymreig ddim eisiau tywod na cheryg; y mae gormod o'r cyfryw yn Nghymru. Y mae y blaenaf o'r tiroedd a nodwyd yn rhoi llonaid ei wyneb o wenith, ceirch, haidd, pytatw, a phobpeth a hauir ynddo. Cwestiwn a ofynir yn fynych gan y rhai a fwriadant ymfudo yw, Pa faint o arian sydd yn ofynol i ddechreu ffermio? Nid cwestiwn hawdd ei ateb yw hwn. Goreu pan fwyaf: tua 100p. a ddywedir yn gyffredin. Y mae yma lawer yn dechreu ar lai, ac yn dod ymlaen yn dda: ond nis gall eu cynydd fod ond araf. Gan fod ceffylau a gwartheg can ddryted yma ag yn Nghymru, ychain yw y goreu i ddechreu, gan y gweithiant heb geirch. Os bydd rhai o'm cyd-genedl yn dod yma, peidiant a dod i wneud ffortiwn mewn ychydig wythnosau. Llawer sydd yn dod gyda llogellau gweigion, gan feddwl na fydd ond gorchwyl hawdd eu llenwi âg aur yn Manitoba. Ond iddynt beidio ni chaent eu siomi. Gellwch ddibynu ar yr uchod o fod yn gywir, gan belled ag y mae yn myned.—Yr eiddoch yn gywir,

W. Evans, gynt Llanberis, ger Caernarfon.




Ar y Souris.

Cyhoeddir o dro i dro argraffiadau newydd o'r gwaith bychan hwn, yn cynwys cwestiynau ac atebion ychwanegol am y wlad. Yn y cyfamser, bydd pob gwybodaeth ar bod pwynt perthynol i Manitoba a'r Gogledd-orllewin i'w cael ar fyr rybudd a chyda phob parodrwydd ond ysgrifenu at neu alw gyda

ALEXANDER BEGG,

Office of Canadian Pacific Railway,

101, *Cannon Street, London.*

*Argraffwyd gan O. R. Owen, Minerva Printing Works, Turf Square, Caernarfon.*

